# LLAIS AWEN GWENT A MORGANWG:

SEF,

## CASGLIAD

O

## GANIADAU NEWYDDION,

AR DESTYNAU MOESOL A DIFYR.

LLAIS hywiw yw LLAIS AWEN,—fwyn barod,
Fo'n beraidd ei hacen;
E rŷdd ei mâd wiwfad wên,
"Lais Eos i Lysowen."

BRYCHAN.

"Heb AWEN baich yw bywyd,
A'i rhôdd yw rhyngu bôdd bŷd."

G. OWAIN.

YR AIL ARGRAFFIAD.

A GYHOEDDWYD GAN I. BRYCHAN.

*MERTHYR-TYDFIL:*

ARGRAFFWYD, DROS Y CYHOEDDWR, GAN B. MORGAN.

1829.

705-12

# FEIRDD A CHANTORION AWENAWL GWLAD Y GAN.

GAREDIGION AWENYDDAWL,

GYDA gwir barch i chwi oll, dyma fi yn cyflwyno idd eich nodded ail argraffiad tra gwŷch o LLAIS AWEN, gyda llawn hyder y bydd iddo gyfarfod â derbyniad groesawus yn eich plith, fel y cafodd ef y tro cyntaf. I'r dyben o wneuthur y cyhoeddiad presennawl mor deilwng o'ch cefnogaeth ag y medrai fy nawn byr, ymdrechais ei ddiwygio o amrai wallau ag a ymlusgodd i mewn i'r argraffiad o'r blaen; hefyd, ychwanegais atto amrai Gathlau newyddion, o waith Beirdd tra chlodadwy; ac yr ydwyf yn gwybod y bydd yn hoff iawn gan lawer o honoch dderbyn y Llyfr yn ei wisg wladaidd y waith hon.

Nid ydwyf heb wybod na chaiff y Llyfr hwn, fwy nag y cafes ereill o'i fath, fyned idd ei ffordd yn ddiragfarn, ac heb godi bysedd ar ei ol gan lawer coegyn syberw, a gwybodus iawn yn ei frŷd geubwyll ei hun. Ynfyd, yn wir, a fyddai i mi addaw i mi fy hun, y medra efe ymgadw rhag saethau *sen* a *gogan* y fath feirniaid pendwpa a chenfigenus, y rhai dan rith ac esgus o ddyhidlo y gwyfynion lleiaf, a fedrant, mewn conglau tywyllion, cofiwch, lyncu y camelod mwyaf. Ond bydded hyny fal ag y bo, ni'm dawr i, canys nid wyf i yn ymosod i gyhoeddi i'r byd lyfrau o'r fath hyn i'r dyben o foddiaw nac anfoddiaw neb ag y sydd wedi ymrestru yn myddin ystrywgar enllib ac hunandyb. Hyderaf mai ychydig iawn a ddichon eu baldorddach drelaidd hwy wneuthur o niwed i gylch-rediad LLAIS AWEN y tro hwn, fwy na'r tro blaen y cyhoeddais i ef. Cyn dybenu ar y pen hyn, osyd mai nid anweddus a fyddai dywedyd wrth ambell i ddrelyn hunanddoeth ac anwybodus, ag y sydd yn rhy barod i gablu a choll-farnu yn ol rheol ei fympwy gŵyrgam ei hun, gyfansoddiadau beirdd athrylithgar, am iddo yn gyntaf brofi ei ddawn a'i athrylith ei hun, yna caiff wybod od oes ynddo ef gynneddfau addasion i farddoni, neu at gyfansoddi rhyw beth arall teilwng o dderbyniad. Caiff wedi hyny wybod y draul a'r drafferth ag y sydd yn cyd-ganlyn y gorchwyl o gyhoeddi llyfrau i foddloni darllenyddion yn gyffredin. Cyn y dichon iddo fod yn farnwr addas ar bethau o'r natur hyn, rhaid iddo fyned trwy y graddiadau a nodwyd.

Ond am danoch chwi gyfeillion mynwesawl yr Awen, nid oes achos i mi grefu arnoch am fod yn dirion wrth y cyfrai ffaeleddau ac anestluseiddrwydd, ag y sydd hawdd i chwi ganfod yn rhy aml yn y Llyfr hwn, ynghyd âg ereill o'i fath a ddanfonais i'ch plith. Yr ydwyf wedi cael digon o brawf o'ch tynerwch tuag attaf o'r blaen, gan hyny nid llawer gwell nâ rhyfyg a fyddai i mi ammeu eich hynawsedd yn y mesur lleiaf. Nid oes gennyf ond ei gyflwyno idd eich nodded fel ag y mae, gan ddychwelyd fy niolchgarwch i chwi oll "*For past favors and your generous support.*" Os damweinia i chwi, ambell dro, glywed ambell gecryn bostfawr ac hunanawl yn dynoethi ei ddannedd cenfigenus yn rhŷ enllibus a goganus yn erbyn y cyhoeddwr a'i gyhoeddiadau prydyddawl, byddwch mor garedig a dywedyd wrtho, droswyf i, "Am iddo chwynu ei ardd ei hun, cyn myned i chwynu gerddi a maesydd ei gymydogion." Yna ond osyd y bydd iddo gael digon o orchwyl i'w gyflawni.

Gyda phob dymuniad daionus i bawb o awenyddion a chantorion fy nghenedl Gymreig, ynghyd ag i bob dŷn diragfarn, terfynaf fy rhagdraeth y waith hon, fel y waith olaf ag wyf yn bwriadu anfon i'ch plith, trwy yr argraffwasg, unrhyw lyfr o ganiadau yr oes. Gadawaf y gorchwyl hyny i ryw rai addasach i ymdrin âg ef o hyn allan.

*Ydwyf, heb fwyseiriaw,*

*Eich gwas gostyngedig a'ch ewyllysiwr da,*

J. BRYCHAN.

*Tredegar, Ebrill* 20, 1829.

LLAIS AWEN burwen i'r bŷd—wy'n anfon,
Yn fwynaidd, mae'n llawnbryd;
Gwŷr ein bro, hoywfro hyfryd,
Gâr ei sain wiw gain i gŷd.

LLAIS AWEN a'i gwên wiw gu—y leni
A lonant bob teulu;
Ei gwrês a fo'n cynhesu
Ein cantorion llon yn llu.

LLAIS bywiog, rhywiog yr AWEN—wiwdeg,
Sydd odiaeth îs haulwen,
Swyn gwŷch yw, da syw, di sen,
I fogi pob cynfigen.

# Llais Awen, &c.

## ENGLYNION,

I Deulu BRYCHAN BRYCHEINIAWG, y diweddaf o'r Tri Sanctaidd Linus Ynys Prydain—*Llinus Brân ab Llyr, Llinus Cunedda Wledig, a Llinus Brychan Brycheiniawg.*

---

BRYCHAN hoff anian, trwy ffydd,—a lynodd,
Yn lanwych at grefydd;
Gwir ydyw, fal gwaredydd,
Dangosai, dysgai bob dydd.

Bob dydd, ŵr dedwydd a dŵys,—gwâr union,
Gwirionedd, heb orphwys,
A difrad ddeddf Paradwys,
Yn ei glau arferion glŵys.

Glŵys grefydd beunydd i'r bŷd—a ddysgodd
Yn ddwysgall trwy'i fywyd;
Hafaidd ei gyngor hefyd,
Fal athraw di fraw, da'i frŷd.

Da ei frŷd, diau o frôn—lân fanol,
Lòn fwynaidd a chyfion;
Er mawrles, medd hanesion,
Oedd lywydd i'r ffydd, a ffôn.

Yn fedrus, hoenus, mewn hedd,—ŵr odiaeth,
Priododd, trwy rinwedd,
Yn ddinag, dair o wragedd
Goleuwych, tra gwych eu gwedd.

*Eurbrawst* a *Phrawst* dda'i phrŷd,—wâr ebrwydd,
A *Rhybrawst* fwyn hyfryd;
Bywiog trwy gylch eu bywyd,
Doeth is nèn, yn bèn y bŷd.

Duw Ner yn dyner i'r doeth—wr hyfwyn,
A rifodd wiw gyfoeth:
Meib llesol, gweddol, gwiwddoeth,
A merched gwŷch, ceinwych, coeth.

Gweddaidd athrawon gwiwddwys,—hoff eurddysg,
Hyfforddwyr i'r eglwys;
Pur odiaeth blant Paradwys,
Llyma'i feibion doethion dwys.

(1) *Clydog* a (2) *Chynog* wŷch anwyl,—(3) *Neffei*,
Iawn hoffodd ei orchwyl,
(4) *Ceinbryd* ar wisg heb ddisgwyl,
(5) *Mathaiarn* hyfaen dda'i hwyl.

(6) *Rhain*, (7) *Rhawin*, (8) *Cynin*, wr canaid,—difraw,
A (9) *Dyfryg* wych danbaid,
(10) *Pasgen*, wr dewr ei enaid,
(11) *Rhun* dda'i swydd, yn rhwydd wrth raid.

(12) *Cledwyn* a (13) *Gerwyn* doeth gwrol,—ceidwad
Oedd (14) *Cadog* synhwyrol;
(15) *Arthen* gûn, wr dymunol,
Daw (16) *Dingad* a'i rad ar ol.

(17) *Cynfran*, a (18) *Dyfnan*, da'u defnydd,—câf loyw-wedd
(19) *Cyflewyr*, a (20) *Nefydd*,

(21) *Doewan*, y gwych ddiddanydd,
A (22) *Llecheu* lòn, ffòn y ffydd.

(23) *Pabiali* dêg, ddifregedd,—a (24) *Huchan*
Gwr awchus diduedd :—
Rhifais feib doethwych rhyfedd
Hên *Frychan* wiwlan ei wedd.

Yn ddiddan y gân o'r gêd—a roddaf,
Mewn rhwyddiaith amgyffred,
Enwaf, trwy serch, ei ferched
Clodfawr hoyw, yn groyw i gred.

Tirion o galon, heb gelu,—awchus
Oedd (1) *Mechell* mewn teulu :
Ag (2) *Enfail* wèn yn gwenu,
(3) *Gwladus* lòn, a (4 *Gwrgon* gu.

(5) *Ceinwen*, a (6) *Dwynwen*, rhai dawnwych,
(7) *Lleian*
Gall hoenus, (8) *Corth*, (9) *Ceindrych*,
(10) *Eluned*, (11) *Hawystl* lonwych,
(12) *Arianwen*, a (13) *Gwèn*, rhai gwych.

Un dduwiol, fwyn, yn ddiau,—(14) *Eleri*,
Hael orwych oedd (15) *Tydiau*,
Mewn bri yr oedd (16) *Tybiau*,
(17) *Nefyn* fâd i'n gwlad oedd glau.

(18) *Gwawrddydd* lwys fu'n gynnwysfawr—
—o ddeall,
Un ddiwyd gariadfawr,
Cannaid, fal goleu'r ceinwawr,
(19) *Goleuddydd*, (20) *Gwenddydd*, a
(21) *Gwawr*.

(22) *Clydai*, merch ddifai o ddawn,—dywedir,
Da ydoedd, a ffyddlawn;

(23) *Tudful* oedd fun hardd uniawn,
A'i chlôd rhwydd, er llwydd, yn llawn.

(24) *Tanglwst* gain gywrain, un gall,—cawn adlais
(25) *Cenedlon* synhwyrgall,
(26) *Rhieingar*, glwys ferch arall,
Hyfrydlon wiwlon heb wall.

Gwnaeth *Brychan* ei ran yn rhwydd—i'w harwain,
Yn orwych ac ebrwydd,
I eurglod lwybrau'r Arglwydd,
Mewn cariad, er llâd a llwydd.

AB IOLO.

---

Mae Adysgrif, oddiwrth hen Ysgrif-lyfr o Achau Saint Ynys Prydain, ym meddiant Awdwr yr Englynion uchod, yn cynnwys dwy hanes, anghytunol, mewn mesur, am Deulu Brychan Brycheiniawg. Y cyntaf, yn ol pa un y mae yr Englynion, yn rhoddi yr enwau Prawst, Rhybrawst, ac Eurbrawst, idd ei wragedd; ac yn rhifo ei blant yn 24 o feibion, a 26 o ferched:—yr ail, yn enwi ei wragedd fal hyn, Prosori, Eurbrawst, a Rhybrawst; ac yn rhoddi iddo 25 o feibion, a 26 o ferched. Yn mhellach, nid yw y ddwy hanes yn hollawl gytuno yn enwau'r plant; rhai o honynt a lythyrenir yn wahanol, fal hyn, Rhain—Rhaint; Doewan—Dogfan; Tydiau—Tydeu, &c. Nid yw yr hanes a welir yn y *Myfyrian Archaiology* yn cytuno yn gwbl ag un o'r ddwy hanes a grybwyllwyd. Eglur yw, beth bynag, oddiwrth enwau llefydd a thraddodiadau gwlad, fod hanes y Teulu wedi dyfod, ar hir hwyliad, gydag Afon hên Amser, yn lled gywir i'r oes hon.

## HEDDWCH.

Cyfansoddwyd y Gân hon gan G. Morganwg, ac a ddatganwyd yn Ngorsedd Morganwg, ar y Maen Chwyf, ar yr ail Gyfadgyrch yn yr Alban Hefin, yn y flwyddyn 1814.

*Mesur—"Calon Derwen."*

1.

Cyd-unwch Omeriaid yn unblaid yn awr,
Trwy'r deiliog ardaloedd, a lluoedd y llawr,
I ganu'n dêg unol wrth reol yr oes,
Trwy ganfod Ewropia heb laddfa na loes;
Arswydus fu'r sôn, didaw oedd y dôn,
Ymrwyfo am ryfel i ymraf'el ymrôn;
Och! cymmaint y cûr, orfod dwyn arfau dûr,
  Yn awr daeth tawelwch,
  Cewch, frodyr, hyfrydwch,
Dedwyddwch, a heddwch, o byddwch yn bûr.

2.

Blynyddau anniddan yn gyfan a gaed,
Ac amryw sychedent, neu waeddent am waed
Eu cyd-greaduriaid,—mor ddiriaid, oer yw,
Ymladdent, dilydent, ni arbedent y byw;
Bu Ffrainc-arw ffrwyth, yn meithrin pob mwyth,
Bho'ent lawer o feusydd, da wledydd dan lwyth:—
Cyfnewid a ddaeth, er cysur i'r caeth,
  Cawn heddwch hyfrydol,
  Gobeithiaf byth bythol,
Dymunol, ragorol hoff reol wiw ffraeth.

3.

O! mor ddymunol, naturiol, on'te?
Yw Heddwch hyfrydlon, wŷr llòn yn mhob lle;
Heb son am ryfeloedd, galluoedd, gwell yw,
Tawelwch, llonyddwch, hyfrydwch pob rhyw:
I'r wlâd hyfryd wledd, yw claddiad y clêdd,
Yn nyffryn Brawdgarwch, canfyddwch ei fedd;

Oddiyno ni ddaw, rhwng lluoedd rhagllaw,
  Os byddwn un fwriad,
  Ni chaiff adgyfodiad,
Adferiad, ail driniad, oer brofiad er braw.

4.

Boed Heddwch y'Nghymru, gwnawn benu bawb oll
Boed Heddwch yn Mrydain dêg gywrain heb goll;
Am Heddwch Ewropia, mawr wledda fu'r wlad,
Cyd-unwn mewn Heddwch, hyfrydwch difrâd;
Am Heddwch o hŷd, boed bwriad y bŷd,—
O felys ffrwyth Heddwch, O! profwch mewn pryd;
Mewn Heddwch, mwyn yw, y byddom bawb byw,—
  Ond Heddwch cydwybod,
  Fo beunydd yn bennod,
Cawn gymmod da hynod, gain ddefod gan Dduw.

ENGLYN AR YR UN TESTUN.

Gorphenwyd, dygwyd trwy degwch—Ewrop
  Yn oror diddanwch;
  Er blinion droion yn drwch,
  Cyrhaeddwyd hawddgar Heddwch.

ETTO, gan BRYCHAN BACH.

Daeth Heddwch glân diddanol—i Frydain,
  Hên frodeg ddymunol;
  Llid anferth—llaw Duw nefol
  Gadwo'i nerth i gŷd yn ol.

## ARALL AR YR UN TESTYN.

A gyfansoddwyd gan EVAN CIWL, ac a ddatganwyd ar y Maen Chwyf, ar yr un amser.

*Mesur—"Calon Derwen."*

1.

CYD-NESWCH Brydyddion, rai mawrion a mân,
Mewn geiriau'n dêg araf, amcanaf roi cân;

Ar destun da'i ystyr, fe'i gwelir mai gwiw,
Roi'r clod yn wirfoddol, yn ddoniol i Dduw;
Am Heddwch i'n gwlad, lle gwŷr golli'u gwa'd,
Gobeithio na welir fyth, frodyr, fath frâd:
Ein dyled ni sydd, heb daw, nos a dydd,
  Ymgynnyg trwy ganu,
  Fal hyn i'w foliannu,
Am iddo'n gwaredu, a'n rhoddi mor rhydd.

2.

Dau ddeg o flynyddau, mewn lladdfa a llid,
Dan ormes y Ffrancod yn bod oedd y bŷd;
*Boni* oedd benna' a'r llyma'n mhob lle,—
O'r diwedd alltudiwyd,—anfonwyd efe,
I *Elba,* hwn aeth, i'w gynnal yn gaeth,
Cyn hir fe'i symudir, mewn gwir i le gwaeth:
Mae gwaed llawer ûn, oedd lonwych ei lûn,
  Yn gwaeddi'n mhob ardal,
  Boed etto heb attal,
Ryw ddial, a gofal, tra dyfal i'r dŷn.

3.

Blin oedd y blynyddoedd, yn gyhoedd fe ga'dd,
Rhyw foliant i filoedd—a lluoedd eu lladd;
Doed Heddwch hyfrydlon i galon pob gŵr,—
Darfydded Rhyfeloedd, ar diroedd, a dŵr;
Teyrnasoedd fu'n hir, dan eu gwae, dyna'r gwir,
E lanwodd gelynion, rai taerion, eu tir:
Daeth Heddwch, doeth yw, 'nol ein dawn foli Duw,
  A'r delyn, a'n dwylo,
  I ganu heb gŵyno,
Clod iddo, heb flino, tra byddo' ni byw.

4.

Gan inni gyfarfod, wŷr hynod, fal hyn,
Rai didwyll, fal d'wedir, neu frodyr ar fryn,
I gynnyg anrhegion 'n un galon i gŷd,
Am gael diogelwch, iawn Heddwch o hŷd;
Yr holl waywffyn, filiynau, fal hyn,
A droir yn bladuriau, rai gloywa'n y glyn;

Cael Heddwch Duw trwy ei Fab, ni bu fwy,—
Am hyny cyd-unwn,
Bob ardal mewn Byrdwn,
Ymroddwn, clodforwn, a molwn Ef mwy.

D. S. Y Gân uchod a gopïwyd, pan adroddwyd hi ar y Maen Chwyf, yn y flwyddyn 1814. Ac od oes rhai gwallau wedi ymlusgo i mewn idd y cyfansoddiad godidog, maddeued yr Awdwr teilwng idd y Cyhoeddwr.

## MOLAWD I'R URDDASOL J. EDWARDS, YSWAIN, RHIW-OLAU, MORGANWG.

*Mesur,—"Calon Derwen."*

1.

HOLL Feirddion gwlâd Forgan, wŷr diddan a dwys, [llwys;
Rhowch fwynaidd gynghynedd, fo'n llonwedd a
O iawn glôd i'n Gwladwr, hyfforddwr heb ffael,
Tu fewn i Forganwg mewn golwg mae i'w gael;
Seneddwr hardd yw, wrth reol ddoeth ryw,
Derbyniodd lawn roddiad, yn ddiwad gan Dduw:
Dŷn mwyn a dawn maith, nid llwfr na llaith—
A'i eiriau cariadus,
Iawn dreiddiad 'madroddus,
Gwŷch drefnus, ddeallus, ŵr gweddus i'r gwaith.

2.

Dêwch chwithau Fon'ddigion, mwyn llòn yn mhob lle,
A phawb o'r Rhydd-ddeiliaid yn ddibaid o dde';
Mawrhêwch eich blaenorwr, digynnwr 'da'i gais,
A'i rediad cariadlon heb droion o drais;
Gwna'n llonwedd wellhâd, er gloywder i'n gwlad;
Gŵr ydyw caredig, heb gynnyg naccâd;—
Daw llwyddiant yn llawn, i ddynion trwy ddawn
Yr ethol areithydd,
Da gwrol, digerydd— [gawn.
O'i herwydd trwy'r gwledydd gwiw gynnydd a

3.

Mae'n ûn o hil Gomer, iawn dyner ei dôn,
Nid gwrandaw gormeswyr disynwyr, na sôn,
Ond troi at ddynoldeb ei wyneb, heb wâd,
A baeddu Pabyddiaeth, gelyniaeth o'n gwlad;
Da wladwr di lid, heb w'radwydd, na'i wrid,
Ond cynnes amcanion yn gyson i gŷd;
Gwŷch siriol i'r swŷdd, er llawnder a llŵydd,
Gael gŵr mewn hawddgarwch,
Gwir addas gar'eiddwch, [rhwydd.
Cân heddwch cydseiniwch, iawn roddwch yn

4.

I Edwards boed mawrlwydd, yr hylwydd ŵr hael,
Sy'n gwrandaw achwynion y gweinion a'r gwael;
Heb drachwyrn edrychiad, oer doriad ar dir,
E chwilia i'r gwaelod, gael gwybod y gwir:
Gwna gyfiawn farn gâll, yn bwyllig heb bâll,
A'i lygad yn wastad, yn gwyliad rhag gwâll:
Dymuna'i iddo ef, trwy g'ruaidd ffydd grêf,
'Nol darfod ei yrfa,
A'i ammod wiw yma,
Orphwysfa, iach digfa, a noddfa'n y nef.

G. Harri, Penderyn.

## MYFYRDOD AR Y DYDD BYRAF.

*Mesur—"Gadael y tir."*

1 Nid cyfrif un neges,
A wnelwyf yn ormes,
Ond datgan bèr hanes yn gynnes a gâf,
Fe wna'r holl brydyddion,
Sy'n ymddwyn yn union,
Ryw droion fo burion Ddydd Byraf.

2 'Rwyf innau'n bwriadu,
Wyr cynnil, roi canu,—
Mae ambell gerdd fwyn-gu yn tyfu ar làn Taf;

Gwell hyny 'rwy'n gweled—
Tra byddo'i'n ddigolled,
Nâ'i harbed ar bared Ddydd byraf.

3 Os byr yw'r diwrnod,
Gwell cynnal y ddefod,—
'Does yma na thrallod, na syndod a sâf,
Rhwng brodyr caruaidd,
Pob un a'i reolaidd
Gerdd fwynaidd, dda beraidd, Ddydd byraf.

4 Os digwydd bod prydydd,
Yn curio mewn cerydd,—
Neu ryw un annedwydd rhwng glenydd yn glâf,
Bydd da ganddo'n ddiau,
Yn nghanol cystuddiau,
A'i boenau, wel'd borau'r Dydd byraf.

5 Bydd da gan bob glanddyn
Gael cainc gan aderyn,
A'r dydd ar ei estyn—arofyn mae'r Hâf;
A da gan was hoyw
Gael darn o gig berw,
A chwrw 'rwy'n bwrw'r Dydd byraf.

6 'Rwyf innau er hyny,
Yn hoffi cael lletty,
Dan gronglwyd y gwestŷ'n bur hŷ mi barhâf,
Gwell gennyf na rhewi,
Ar Dâf, nag ar Deifi,
Ymborthi heb oeri'r Dydd byraf.

7 Os eira sy beunydd
Yn glynu ar y glenydd,
Er cynnal llawenydd, cerdd newydd a wnaf;
Er bod, fe ŵyr digon,
Berlleni fu'n llawnion,
Yn llymion heb aeron Ddydd byraf.

8 Er hyny, wŷr mwynion,
I ganu pennillion,
Yn mhlith y prydyddion, pûr hoywon, parhâf;
Da gennyf yw disgwyl
Wrth bob cyfaill anwyl,
Mae'n orchwyl, da berwyl, Dydd byraf.

9 Os cadw tŷ dedwydd,
Rhaid enwi rhyw danwydd,—
I ymdrin ar feusydd; oer dywydd nid âf;
Gwell gennyf o ddifri',
Nâ dringo'r Eryri,
Yw pobi a berwi'r Dydd byraf. G. MORGANWG.

---

Gyda phwyll didwyll d'wedaf,—yn grynllyd,
Neu'n groenllwm os byddaf,
Geirian chwerwon geirwon gâf,
"Heb arian y Dydd byraf." BRYCHAN.

## CROESAWIAD I G. MORGANWG,

Pan ddaeth i Goed-y-cymmar, yn y flwyddyn 1816.

*Mesur—"Hyfrydwch y Brenin."*

DE'WCH blant yr Awen burwen beraidd,
Mwyn a llariaidd, yma'n llòn,
At Gwilym medrus gwiw,
Heb frâd na briw'n un bròn:
I Goed-y-cymmar 'nawr cyd-gamwch,
Mewn prydferthwch, heddwch hardd,
At gyfaill mwyn di rûs,
Cariadus fedrus Fardd;
Cewch yno bob croesawiad,
Trwy gariad difrad dwys;
Da lais di lèn, yn bûr o'i bèn,
O'r Awen lawen lwys:

Barddoniaeth bûr, a gawn heb gûr,
  Fo'n gadarn fûr i Fardd,
I'n mysg pob dysg a dawn,
  Doethineb llawn a dardd;
Pob llonddysg addysg wiwddoeth,
  Synwyrgoeth lwyrgoeth lawn,
Yn ddiwahardd, mewn urddas hardd,
  Gan Gwilym Fardd a gawn:—
Tra haulwen glir, uwch Brydain dir,
  E g'lymir iddo glôd,
Yn hardd, y gwiwfardd gwŷch,
  Mewn llonwych nwyfwych nôd.

BRYCHAN.

## YR IAITH GYMRAEG.

*Mesur—"Calon Derwen."*

1.

CYD-GENWCH brydyddion, wŷr mwynion a maith,
Mewn geiriau hawddgaraf, llòn eithaf i'n Hiaith,
Sy'n haeddu canmoliaeth diweniaeth, da'n wir,
Gan Gymry awyddus, wŷr dawnus ar dir;
Iaith hyglod yw hòn, wŷr breiniol, o'r bròn,
O dreiddiad synwyrol, iawn llesol, a llòn;
Iaith loyw-wedd, Iaith lŵys, Iaith benaf o bŵys;
  Iaith weddus rinweddol,
  Iaith byth, 'rwy'n obeithiol,
Iaith freiniol, ragorol, ddiddanol dda ddŵys.

2.

Iaith Beirdd, a Chantorion, da gwychion i gŷd,
Iaith Cymru frô eirian, wiw hoywlan o hŷd;
Iaith doethion clodadwy, o Fynwy i Fôn,
Iaith ein tad Gomer, iawn dyner ei dôn;
Iaith gynnes, Iaith gâll, Iaith bwyllog heb bâll,
Iaith AWEN ddiniwed, ond gwylied rhag gwâll;

Iaith loyw-wedd, Iaith lŵys, Iaith benaf o bŵys;
  Iaith weddus rinweddol,
  Iaith byth, 'rwy'n obeithiol,
Iaith freiniol, ragorol, ddiddanol dda ddŵys.

LEWIS MORGANWG.

## ENGLYNION IDD YR IAITH GYMRAEG.

Unodl Union.

Serchiadawl ddoniawl ddynion—a garant
  Ein gorwych arferion;
  Coledd a wnant o'u calon,
  Hen Iaith Gomer lwysber lòn.

Dau Broest cadwynawg.

Iaith wiw lân i'r gân heb gôll,
  Iaith yr AWEN gymen gâll;
Iaith gref-eiriog, gaerog ôll,
  Ynddi'n wir nis gwelir gwâll.

Iaith y Brython (gwychion gâd)
  Yw'n Hiaith gywrain gain i gŷd;
Iaith Prydyddion mwynion mâd,
  Iaith bêr yw, Iaith bâr o hŷd.

Er annoeth gignoeth goegni—galanas,
  Gelynion a'u hanfri;
  Ar ei thaith mae'n hên Iaith ni
  Yn rhedeg mewn mawrhydi.

Dau Driban Morganwg.

Tra llèn ffurfafen wiwfad,
A llewyrch haul a lleuad,
Bydd i'n mamiaith lwyrfaith lawn,
Gael addas iawn goleddiad.

Tra dyfroedd moroedd mawrion,
Yn golchi'n gwlâd o gylchon;
Tra bo daear liwgar laith,
E bery Iaith y Brython.

Pob coegfalch crasfalch croesfaith—a wadodd
Ei wiwdeg orheniaith;
'Nawr cofied am ei famiaith,
Gyda phwyll a mawrbwyll maith.

ENGLYN I DDIC SHON DAFYDD.

'Nawr gwelaf Ddic Shon Dafydd—a'i dylwyth,
Yn delwi gan g'wilydd;
A'i hên glytiaith, saliaith, sydd
Yn wàn a diawenydd. BRYCHAN.

## CERDD O GOFIANT

Am Ddau Löwr, a laddwyd yn ngwaith glô Tredegar, ar y 22ain o Ionawr, yn y flwyddyn 1822; sef, WILLIAM SIENCYN, a WILLIAM WILLIAMS.

*Mesur—"Gwêl yr adeilad."*

1.

YR Anfeidrawl gogoneddus,
Iehofa mawr daionus, yw dy enw;
A Thâd y greadigaeth,
Trwy deilwng lawn dystiolaeth, cai'th helaeth alw:
Tydi—ein IOR a'n creaist ni,
Ac ar ein cyfer, gosodaist amser,
Ac hefyd cofier, dàn sêr mai dyna sŷ,
I'n aros yma'n wrawl, yn ein daearawl dŷ;
Diâu,—fal hyn, ti briddyn brau,
I lawr falurir, neu a ddattodir,
Medd gair ION geirwir, nid wyt i hir barhau,
Mal gwelir yn ein golwg, yn amlwg ddiwg ddau.

2.

Sef WILLIAM SIENCYN mwynfaith,
A WILLIAM WILLIAMS eilwaith, daliwn sylw;
Yn Nhredegar (irad agwedd)
Y ddau a ddenai i ddiwedd, oerwedd arw;
A'r trô, er gloes yn ngwaith y glô,
Ddaeth i'w cyfarfod, ar fŷr o arfod,

Ni allent orfod, y gafod hon dan go',
Mae'n ddolur i feddyliau, a bronau pawb o'n bro:
Tro trwm,—y *blawr fal darnau o blwm,
Yn swrth a syrthiodd, yn llwyth, nes llethodd,
Eu gwêdd a guddiodd, fe'u lladdodd mewn modd llwm, [swm.
Daeth arnynt yn druenus, ryw faith arswydus

3.

Ar y ddeufed dydd ar hugain
O Ionawr y bu'r ddamwain, yn ddiammau;
O'r flwyddyn un mil, wythcant,
A dwy ar hugain meddant, dyma'r moddau:
Bráw, braw—i'r lluaws oedd gerllaw,
Oedd clywed wed'yn, fod y ddau gorffyn,
A'r garnedd arnyn', pa enau dŷn a daw?
Er cymmaint oedd yn gweithio i'w threiglo yma thraw:
Prudd, prudd—oer doriad oedd y dydd,
I'w gwragedd gweddwon, a'u plant cariadlon,
A'u ceraint ffyddlon, un galon yn ddigudd,
Dros hir amseroedd etto, myfyrio am hyn a fydd.

4.

Trwy fod yn bûr gywreinddoeth,
Caed *un* y boreu dranoeth, yn bur druenus;
Ond William Siencyn, druan,
Oedd etto tan y geulan, mae'n gyfan gofus;
Sŷn, sŷn, tra hynod fu'r tro hŷn,
Bu bedwar d'wrnod, ar welwaidd waelod,
'N y ddaear isod, rhwng glô a'r tywod tŷn,
A chreigiau chwerw eu hagwedd—
Gwael annedd yn y glŷn:
O'i ràn—fe gaed rhyw gysur gwàn,
Un a †freuddwydiai, mewn golwg gwelai,—
A phan ddihunai, cyfeiriai at y fàn,
Trwy wir ryfeddol freuddwyd,
Ddarluniwyd iddo o'r làn.

* The Roof, or the Top. † William Haughton, an Englishman.

5.

Mae'r angau, 'nol ei alwad,
Yn frenin, a'i osodiad, yn arswydus;
Ei ymweliad sy'n ddiogel,
I'r isel ac i'r uchel, yn o frawychus:
Pan ddaw—ei ddydd fe rŷdd ei fraw,
Ar feibion dynion, drwy giliau'r galon,
A'i saethau sythion, sy lymion o'i ddwy law,
I daro'r gwàn a'r dewrwych,
A'r gwŷch i rŷch y rhaw:
'Mhob lle—mae'i sŷn awdurdod e',
Pan gaffo gennad, yn ddiâu i ddŵad,
Yn ddiarbediad, trwy'r wlâd fe gymmer le,
Pwy edrydd ei lywodraeth,
Tan freninoliaeth Ne'?

6.

Nid am fod eu pechodau,
Yn waeth nâ'r eiddom ninnau, yn wahanol,
Daeth angau mor ddisymwyth,
Yno i fwrw ei adwyth, yn fwriadol;
Rhowch glust—i'r geiriau dâ sy'n dyst,
Am ddeunaw o ddynion, yn ngwlâd 'r Iuddewon,
Nid gwaeth eu troion, medd croywon eiriau Crist,
A laddodd Tŵr Siloam,
A hŷn mewn dryglam drist:
Ni gawn—oni edifarhawn,
Mai yr un moddau, dyfethir ninnau,
Ar fŷr o oriau, mae'r geiriau'n olau iawn,
Daw arnom megys hwythau,
Yn llwythau, oni wellhawn.

7.

Sant Paul sydd yn ein dysgu
'N garedig i iawn gredu, gan lynu'n lanwaith,
Am beidio tristhâu'n ormod,
Mal rhai sydd heb wybod, fod i bawb obaith;
Daw'r dŷdd—y rhoddir hwythau'n rhŷdd,
O law marwolaeth, a llygredigaeth,

Cânt fuddygoliaeth, can's sicrwydd helaeth sydd,
Eu gwisgo â sirioldeb,
Ac anfarwoldeb fydd:
Pob rhyw—pan ddêl arch-angel DUW,
I roddi'r alwad, cânt adgyfodiad,
O'u beddau cauad, dydd eu hymweliad yw,
Lle *dwyra'r llû daearol,
Oedd farwol i ail fyw.

* adgyfoda.

Er cwympo, llithro i'r llwch—mae bywyd
(Heb wywo gwybyddwch,
Nag un arwydd tramgwydd trwch,)
Da diddan a dedwyddwch.

WILLIAM DAVIS, Coed-y-cymmar.

Er llonfawr, heddfawr hawddfyd,—er eithaf
Hir aethus galedfyd;
Wŷr anwyl, ar fyr enyd,
Awn i'r bedd, o seiniau'r bŷd. BRYCHAN.

## BREINIAU DYN.

*Ar y mesur—"Duw gadwo'r Brenin."*

Or am I to the pole exil'd,
To glooms where nature never smil'd,
Since heaven or earth began;
Warm'd by thy flame, bright Liberty,
With fervent soul I'll sing to thee,
And sing the Rights of Man.--Newgate Stanzas.

1 RHOWCH orfoleddus lêf,
Orthrymwyr gwlâd a thrêf,
Mewn eitha' gwŷn;
Cyhoeddwch lawn ryddhâd,
I ormes, twyll, a brâd,—
A chenwch farwnâd
I Freiniau Dŷn.

2 Deddf Rhyddid sydd yn awr
Oll gwedi' thori 'lawr—
Mae'n wael ei llûn;

Cyd-orfoleddwch gàn
Fod uffern fawr o'ch rhàn,—
Gormeswch y'mhob màn,
Ar Freiniau Dŷn.

3 Er maint yw'r ŵylo sŷdd,
Gan weiniaid nos a dŷdd,
Mewn brŷn a brô;
Ymdrechwch yn ddigrŷn,
Yn erbyn Breiniau Dŷn,
A Rhyddid sydd yn nglŷn,
Rhowch hwy dan glô.

4 Chwi feilchion uchel frŷd,
Rhowch bawb eich penau 'nghŷd,
'Nawr yn gyttûn;
Daw'ch llywydd mawr wrth raid,
A'i fyddin fawr o'ch plaid,
Cewch sathru yn y llaid
Holl Freiniau Dŷn.

5 Sefydlwch yn mhob gwlâd,
Ddeddf gormes, twŷll, a brâd,
A thrais y'nglŷn;
Arferwch fin y clêdd,
Ar bawb a garant hêdd,
A chleddwch yn y bêdd
Holl Freiniau Dŷn.

6 O! sethrwch dan eich traed,
Rai gwirion yn eu gwaed,
Mewn llid a gwyn;
Daw'ch cadben dewr y'mla'n,
A'i wŷr, a'i arfau tân,
Gŷr ef o'r bŷd yn lân,
Holl Freiniau Dŷn.

7 O! llethwch hŷd y llawr,
Dan iau caethiwed mawr,
Gyfiawnder pûr;

Rhowch dân, a phelau plwm,
I'r tlawd anghenus llwm,—
A llwythwch ef yn drwm,
Er maint ei gûr.

8 Rhowch farwol ergyd briw,
I bèn Gwirionedd gwiw,
A lleddwch ef;
Hên elyn atgas yw,
I'ch cyfraith chwi, a'ch llyw,
Ni ddylai hwn gael byw,
Na chodi llêf.

9 Mewn rhyfyg ewch y'mla'n,
Mal tonnau mawr o dân,
I ddifa'r bŷd ;
Ardrethwch—codwch dôll,
Degymwch yn ddigôll,—
Eich defaid cneifiwch ôll,
Mae'n eitha' prŷd.

10 Mae genych bleidwyr llym,
A chyfraith—mawr ei grym,
Mewn rhwysg digrŷn !
Daw gwŷr y dagell dew,
I ruo megys llew,
Os clywant hanner *mew*,
Am Freiniau Dŷn.

11 Swyddogion trais o'r brôn,
Sy'n hoffi'r gyfraith hòn,
Ac wrthi 'nglŷn ;
Dodasant *Lew* ar faine,
I wisgo coron Ffrainc,
Fel na b'ai yno gaine
Am Freiniau Dŷn.

12 Os dercha neb ei lais,
Yn erbyn coron trais,
Caiff daliad prŷn ;

Caiff garchar mwll difrêg,
Neu gordyn am ei gêg,
Am gynnyg chwareu têg
I Freiniau Dŷn.

13 'Does neb ddadleua 'nawr
Dros Ryddid hardd ei gwawr,
O! nag oes ûn;
Fe losgwyd hên Dwm Paine,
A'i lyfrau ro'w'd i'r brain,
Ni chlywir mwyach sain
Am Freiniau Dŷn.

14 Hir safodd rhai difrâd,
I ymbil am ryddhâd,
O'u gormes blin;
Chwi roisoch farwol glwy',
O'r diwedd iddynt hwy,—
Ni soniant un-gair mwy,
Am Freiniau Dŷn.

15 Chwi drawsion, bellach dewch,
Crechwenwch—llawenhêwch,
Tra ynoch ffûn;
Cêwch fyn'd o'r bŷd yn glau,
I'r hên uffernol ffau,—
Ac yno cewch eich câu
'Ddiwrth Freiniau Dŷn.

Shon Chwareu Teg.

## DRYCH CYNFIGEN.

*Mesur—" Y Tri Tharawiad."*

"Hi, ni wna ddâ ddera ddall,
Ni erys a wna arall,—
Gwynfydu bydd ganfod bai,
Llwyddiant didrwc a'i lladdai." G. Owain.

1 Mal 'ro'wn i ar ddiwrnod,
Y'nghanol trybestod,
Mewn mawrddwys fyfyrdod, dŵys hynod disèn,

Mi glywais ryw Gymro
Yn dweyd, gan och'neidio,
"Gwae iddo a fago Gynfigen."

2 Ei 'madrodd pan glywais,
Dros enyd mi synais—
O'r golwg mi giliais—ymwthiais fy mhèn,
Rhag anian boeth wynias,
Gynddeiriog ffrom ddiras,
Ac atgas nwyf hygas Cynfigen.

3 Mae hon er y cynfyd,
Yn hyllfarn trwy'r hollfyd,
Nid hawddgar mewn adfyd na gwynfyd mo'i gwèn;
Brawdgarwch mwyn gwiwfodd,
O'r golwg a giliodd,—
Diflanodd, pan fagodd Cynfigen.

4 Hi luniodd, er syndod,
Rhwng brodyr anghydfod,
Mae'r boenus wir bennod, dra hynod yn hên;
*Cain* hyllig anmhwyllodd,—
Ei frawd a lofruddiodd,
O'i wirfodd, pan fagodd Gynfigen.

5 'Roedd *Joseph* rinweddol
Yn fachgen synwyrol,
Doeth, diwyd, a duwiol, da siriol, di sèn;
Ca'dd erwin dost driniad,
Gàn hyllion wŷr anllad,—
Oer brofiad o fagiad Cynfigen!

6 Mewn trachwant, a rhodres,
Brâd dirfawr, a gormes,
Ow! goffa'r fath gyffes, mae'r baunes yn bèn;
Pob hudawl wâg hwdwg,
O allu'r tywyllwg,
Wnaeth fawrddrwg yn nhewfwg Cynfigen.

7 O achos pob ffalster,
Trais, ymchwydd, a balchder,
Yn awr mae cyfiawnder dan lawer o lèn;
Mi wela'r cribddeilwyr,
A'r atgas ragrithwyr,
Clywch, hawyr, yn fagwyr Cynfigen.

8 Pob rhagrith c'wilyddus,
Pob anian gynnenus,
Pob bwriad drwg barus, anafus îs nèn,
Pob gwŷn, a phob gweniaeth—
Pob diles hudoliaeth,
Ga'dd lawn-faeth, gan fagiaith Cynfigen.

9 Lle bo gŵr synwyrol,
Yn byw yn heddychol,
Wrth rywiog ddoeth reol, yn siriol heb sèn;
Ac onest ei fwriad,
Yn mhob ymarweddiad,—
Bydd syniad gàn fagad, Gynfigen.

10 'Roedd *Haman* ddrygionus,
Tàn frenin '*Hasferus*,
Yn swyddog eiddigus, traws barus tros bèn;
Fe ga'dd y gŵr hyny,
Yn deilwng ei dalu,
A'i dagu, am fagu Cynfigen.

11 Cynfigen uffernol,
Ddig warthus anferthol,
Roes Iesu grasusol 'n Ior breiniol ar brèn;
Ac yno croeshoeliai
Hi'r Dwyfol Oen difai,
Pwy hoffai, neu fagai Gynfigen?

12 Pob cyfaill cywirddoeth,
Mewn urddas synwyrddoeth,
Sy'n hoffi dawn mawrddoeth, nwyf wirddoeth nef [wèn;
Hyd fedd boed ei weddi,
"Dad anwyl dod inni,
Lawn egni i fogi Cynfigen."

13 Rhag i mi ddweyd gormod,
I'ch dodi mewn syndod,
Yn gyson rhaid gosod cerdd barod ar bèn;
Boed i chwi ddiddanwch,
Mwyn addas mewn heddwch,
Ond, cofiwch, na fagwch Gynfigen. BRYCHAN.

---

Aed Cynfigen a'i gwên gâs,
Wenwynig, ddieflig ddiflas,
At y gethern uffernawl,
Lle mae gweision duon diawl;
Na foed gwaith unwaith enwi,
Bod ei nôd yn ein bŷd ni.

Gyrwn a bwriwn o'r bŷd—wên fygawl
Cynfigen geintachlyd;
Yna daw, er cŵynaw c'yd,
I'n brô wawr rhwyddfawr hawddfyd.

## TRIOEDD Y CYBYDDION.

*Mesur—"Triban Morganwg."*

1 CHWI'r hyddysg fawrddysg Feirddion,
Trwy Fynwy, Môn, ae Arfon,
Derbyniwch hyn o g'lymiad clir,
Er addysg i'r Cybyddion.

2 Tri pheth sy'n gâs gan Brydydd;
Bost bawddyn dŵl anghelfydd,
Crechwen ynfyd surllyd sawr,
A thrachwant mawr y Cybydd.

3 Tri pheth sy'n groes i grefydd;
Gwenieithwr brwnt dig'wilydd,
Dŷn hunanol llawn o nâg,
A gobaith gwâg y Cybydd.

4 Tri pheth ni thrig yn llonydd;
Athrodwr ffalst tafodrydd,

Ednogyn bâch ar wyneb dôl,
A chalon ffôl y Cybydd.

5 Tri pheth sy'n boen i'r gwledydd;
Gwel'd taiog balch yn llywydd,
Dyfais trawsion creulon crâs,
A bawddyn câs o Gybydd.

6 Tri pheth sy'n llwyr ddiddefnydd;
Troi môch i drin y meusydd,
Balch dirinwedd dan y rhôd,
Ac aur yn nghôd y Cybydd.

7 Tri pheth ni châr lawenydd,
Hên wrâch fo'n boenus beunydd,
Y tlawd anghenus tan fawr loes,
Ac anian groes y Cybydd.

8 Tri pheth a ddyly Prydydd;
Heddychu rhwng carenydd,
Parchu'r gwir, a'i wneud yn bèn,
A chanu sèn i'r Cybydd.

9 Tri pheth ni châr un cristion;
Addoli delwau mudion,
Bariaeth afiach dŷn di bwyll,
A bawaidd dwyll Cybyddion.

10 Tri pheth a wnant ymryson;
Eiddigedd rhwng swyddogion,
Hyll gynfigen front ddirâs,
A golud câs Cybyddion.

11 Tri pheth sy'n dra anghyfion;
Gorthrymu'r tlawd, a'r gwirion,
'Stŵr rhodreswyr yn ddidrai,
A chyfoeth rhai Cybyddion.

12 Tri pheth sy'n debyg ddigon;
Crôch leisiau haid o feddwon,
Hunan ymffrost sarrug Sais,
A gwichlyd lais Cybyddion.

13 Tri pheth sy'n llawn o gloion;
Hên ddorau carchar creulon,
Celloedd lle mae llyfrau llên,
A choffrau hên Gybyddion.

14 Tri pheth a ddŵg flinderon;
Hir ddilyn drwg arferion,
Merched anllad, gwael, di ddysg,
A byw yn mysg Cybyddion.

15 Tri pheth wy'n wel'd yn gyfion;
Addoli Duw o'r galon,
Gwrando cŵyn y gwàn heb goll,
A baeddu'r holl Gybyddion.

16 Ymdrechwch, Gymry mwynion,
Am fuchedd onest union;
Chwi gewch heddwch Duw a'i wên,
Heb eiddo'r hên Gybyddion.

17 Er canu ambell droion,
Pan allwyf, rai pennillion,
Ni chanaf ddigon yn fy oes,
Am drachwant croes Cybyddion.

---

Pob rhagrith, melldith, a malldod,—dilwydd,
Sy'n dilyn Cybydd-dod;
Suro a wna pob sorod
Gwaeledd, yn niwedd y nôd.

BRYCHAN.

## AR SOBRWYDD.

*Mesur—"Calon Derwen."*

1.

YN gyntaf, mae Sobrwydd, mor rhwydd y'mhob rhith,
Yn fendith i ddynion, wŷr glewion fel gwlith,
Er cynnal hir iechyd, heb glefyd, na gloes,
Mi'i galwa'n ymgeledd hyd ddiwedd ein hoes;

Ow! gwelwn fod rhai, sy'n byw yn eu bai,
Yn cludaw clefydon, ar droion heb drai;
O'i achos ei hun, mae'n dàl llawer dŷn,
Rhyw flinder corfforol,
Mewn iasau mynwesol,
Trwy fyw'n anghymhedrol, nid gweddol eu gwŷn.

2.

Yn ail, lle bo Sobrwydd, wir hylwydd, wawr hael,
Fe 'mddengys yn gymmwys, nôd gwiwlwys, nid gwael;
Pa ŵr fwy golygus, neu drefnus ar drô,
Na'r sobyr ddŷn dinag b'le bynag y bô;
Boed gwŷch, neu boed gwael, wir ffyniant heb ffael
Fe gaiff gym'radwyaeth, ddŷn helaeth, ddawn hael;
A'i barchu tra'n bôd, ŵr glanwedd ei glôd,
O flaen yr aflonydd,
Gwâg obaith, neu'r cybydd,
Na'r meddwyn dig'wilydd, annedwydd ei nôd.

3.

Yn drydydd, mae Sobrwydd, iawn sadrwydd, 'rwy'n siwr,
Heblaw bod yn burlan, naws diddan heb 'stwr,
Yn cadw'r synwyrau mewn graddau'n ei grym,
Fe'u collir trwy fedd'dod, hyll ammod yn llym;
Y sobyr glân sydd, ŵr diddan bob dydd,
Yn haeddu cymmeriad, trwy rodiad tra rhydd;
A'r medd'dod, wŷr mwyn, 'rwy'n synio yw'r swyn,
Sy'n boddi'r talentau,
Sain oer, a'r synwyrau,
Dro gwàn, mewn drwg wyniau, deganau digŵyn.

4.

Mi wela'n bedwerydd, mai Sobrwydd heb sèn,
All gynnal syberwyd mewn bywyd sydd bèn;
A gwell erbyn marw, mwy croyw, mae'm crêd,—
'R hwn hauo gyfiawnder, addfwynder a fêd;
Y sobyr un sŷ, 'n wr tawel mewn tŷ,
Gamp hynod, gwmpeini, mae'n llonni pob llu;

Canlyniad dilèn, dawn hynod dan nèn,
Pe caem ni fyw'n ddedwydd,
Wŷr eurglod i'r Arglwydd,
Wŷch arwydd mewn Sobrwydd, er mawrlwydd,
Amen. T. AB GWILYM, Eglwys Elian.

---

Mewn Sobrwydd mwyn îs wybren—y byddom,
Wŷr boddus yn llawen;
Heb oerddig, na chynfigen,
Na grwgnachlyd surllyd sèn.

Syber, medd pawb yw Sobrwydd—i ddynion
O ddoniau lledneisrwydd;
A d'wedant mai gŵr dedwydd,
A rodia'n ei redfa'n rhwydd.

Sobrwydd sy'n arwydd wrol—o iachus
Wiw fuchedd rinweddol;
Hynod yw'r dull gwahanol,
Sydd ar feddwon ffeilstion ffôl.

Gwir Sobrwydd yn rhwydd a fawrhâf—Sobrwydd
Glân syber ddymunaf;
Yn gybydd, un dŷdd nid âf,
Neu'n feddwyn byth ni fyddaf. BRYCHAN.

## CYMMRODORION GWENT.

A gyfansoddwyd gan W. DAVIES, Coed-y-Cymmar, erbyn Eisteddfod fawr Aberhonddu, yn 1823.

*Mesur—" Duw gadwo'r Brenin, yr hen ddull."*

1 PRYDYDDION prydweddol,
Cyd-unwn wŷr doniol,
I ganmol Duw nefol yn awr,
Am undeb iawn duedd,
A chariad iach eurwedd,
O lŷs nefol orsedd ddaeth 'lawr;
Iawn welwch yn helaeth,
Yr elw o eiriolaeth,
O Arch-offeiriadaeth, hôff rãs;

A'i dawn i blant dynion,
Ddangosodd yn gyson,
 Fal auraidd fêl aeron o flâs;
Bryd gwiwrad, brawdgarwch,
Yn foddus, canfyddwch,
 A duwiol dawelwch, diâu,
Gwel'd Gwent a gwlad Gwynedd,
Mewn cwlwm tangnefedd,
 A'u Bonedd yn gydwedd yn gwâu.

2 Daeth dyddiau dedwyddwch,
Cyrhaeddwyd gwir heddwch,
 Dyddanwch, cyd-ganwch, ca'wd gŵyl;
Wŷr doniol dihunwch,
Yn gynnes cyd-genwch,
 Cordeddwch, mwyn eiliwch mewn hŵyl;
Trigolion tir Gwalia,
Bryd hyn, a Brytania,
 O'r uchaf i'r isaf, gwir yw;
Y leni'n haelionus,
Yn nghŵyn yr anghenus,
 Wna i'r rheidus yn foddus iawn fyw;
Molianwn ar liniau,
Dduw Nef am ei ddoniau,
 A'n genau, a'n tannau'n gyttûn;
Rho'wn lew Haleliwia,
A seiniwn Hosanna,
 I'r Goruchaf yn benaf bob ûn.

3 Dangoswyd rhagoriaeth,
A hynod wahaniaeth,
 Dysg ar anwybodaeth i'r bŷd:
A thriniwyd maith rannau,
Peroriaeth ar eiriau,
 Ac odlau'n ganghenau ynghyd;
Gerbron y gwŷr breiniol,
Llu addwyn llywyddol,
 Rhinweddol, a gwychol eu gwedd;

Am hyn mae 'nymuniad,
Rhoed dynion ad-daeniad
O'u cariad, da fwriad hyd fedd:
Hir einioes i'n Brenin,
A'i fuddiol wiw fyddin,
A'r werin gyffredin hoff râd,
A'r dirfawr wŷr mawrion,
Yn gwlwm un galon,
Yn ffyddlon i'r goron yn gâd.

## CARIAD BRAWDOL.

*Mesur—"Agoriad y Melinydd."*

1 Gwelwch ragoroldeb,
Cywirdeb undeb yw,
Cariad brawdol yn buredig,
I radd nodedig ryw;
Nid Cariad ydyw cyrhaedd
Dull llygredd diwellhâd;
Na digofaint nad yw gyfion,
Rhwng dynion glewion gwlâd;
Cynfigen filen fawr,
Geintachlyd wywllyd wawr,
Sy'n d'rysu rhai teyrnasoedd,
I ymrafael am ryfeloedd,
Rhwng pobloedd lluoedd llawr;
A diffyg Cariad yw,
Ymraniad dynol-ryw,
Mewn opiniynau anianol,
Go hynod, a gwahanol,
Nid cludol yn ein clyw.

2 O'r ysgrythyrau Dwyfol,
Gwir reol deddfol Duw,
Gwnant ymddadlau, chwedlau chwydlyd,
Anhyfryd enbyd yw;

Newidiant yr adnodau,
    A'r geiriau oll i gŷd,
Mae hyny'n wreiddyn anwireddau,
    Trwy'n llanau yn troi'n llid;
    Y brawdol Gariad brâf,
    Och! yno byth ni châf;
Ond edliw, a dwyn dadlau,
A thaeru o'r 'sgrythyrau,
    Resymau sâl ni sâf;
    Ac felly dyna fydd
    Eu daliad nos a dydd,
Heb brofi Cariad brawdol,
A'i ddoniau mwyn diddanol,
    Trwy bur effeithiol ffydd!

3 Pe baem yn cyrhaedd Cariad,
    Ni byddai bwriad byth,
I ymchwyddo, a'r balch ymffrostio,
    A'r pleidio sy'n ein plith;
Ein galw i garu'n gilydd,
    O'r newydd fynwn i,
A chael tawelwch, a llonyddwch,
    Gwŷch heddwch gydâ chwi:
    Bob mynyd enyd awr,
    Mae f' anian wiwlan wawr,
Am feddu yn wir-foddol,
Buredig Gariad brawdol,
    Fo'n llesiol ar y llawr:
    Gwaith buddiol unol yw,
    Medd doeth wirionedd Duw,
Yw dangos iawn ufudd-dod,
Heb dynnu mwy, na dannod,
    Trwy bechod tra fo'm byw.

4 Cariad brawdol prydferth,
    Pwy ŵyr ei werth yn wir,
Ond sawl ga'dd ddifrad, gywir brofiad,
    O'i dyniad, c'lymiad clir:

'Does na thrwst, na thristwch,
  Gwybyddwch, ynddo'n bôd,
Mae ei raddau o ddeddf wreiddiol,
  Anghyfnewidiol nôd:
  O! ceisiwn heb nacâu,
  Mewn heddwch ei fwynhâu,
Ei ffrwythau sy'n effeithiol,
Iach odiaeth a serchiadol,
  Tra gweddol rhag pob gwae:
  Y bonedd sydd yn bèn,
  Mewn nwyfiant is y nèn;
Fo'n ei gyrhaedd yn mhob goror,
Heb rwygaw am ryfel ragor,
  Ar dir na môr, Amen.

GWILYM HUGH, Llanfair.

## BRAWDGARWCH Y BEIRDD.

*Mesur—"Gobaith mwynhâu."*

D. S. Dylid canu y gerdd hon wyneb, gwrthwyneb.

1 CHWI Frytaniaid, iach frodyr tynion,
Hil Gomeriaid, hael Gymry mwynion;
  Hael Gymry mwynion, &c.
Llawn yw byrddau, llòn y Beirddion,
Iawn o noddau, awenyddion,
Iachus eiriau, a chysuron,
Ar destynau, rai dwys tynion,
Ganddynt hwythau, cawn ddanteithion;
  Cawn ddanteithion, &c.

2 Bryd o gariad yw Brawdgarwch,
Mwyn gyrhaeddiad, mewn gwir heddwch;
  Mewn gwir heddwch, &c.
Mewn acen odiaeth, gwnant ganiadau,
A barddoniaeth, o bur ddoniau,
Hoyw-wawr helaeth, a rheolau,
Da wasanaeth, ydyw seiniau,
Awenyddiaeth, mewn anneddau:
  Mewn anneddau, &c.

3 E gyfranwyd o'u cyfrinach,
Yr hyn a allwyd o'u rhin holliach;
O'u rhin holliach, &c.
Dysg a roddwyd, dwys gu raddau,
Goreu medrwyd, geiriau mydrau;
Oll a thriniwyd, y llyth'renau,
Hoff arddodwyd, hyfforddiadau,
A mawr ddoniwyd rhai myrddiynau;
Rhai myrddiynau, &c.

G. HUGH, Llanfair.

---

Dewch Feirddion gwiwlon a gwelwch—mor dda
Yw mawr ddoeth Frawdgarwch;
Mewn pob cyfnod trallod trwch,
O frodyr! mae'n hyfrydwch.

Canfyddir mai gwir Frawdgarwch—ceinwych,
Sy'n cynnal gwir heddwch,
Da diddan, a dedwyddwch,
Yn mhob blinfyd, tristyd trwch.

Da, gwiriaf, yw Brawdgarwch—mwyn ethol,
Mae'n eithaf diddanwch;
O hono tardd pob harddwch,
A phob dawn mâd ffloywfad fflwch.

BRYCHAN.

## ENGLYNION AR ONESTRWYDD;

A ganwyd yn Nghyfeillach y Beirdd, yn Nhredegar, ar y 9fed o Fawrth, 1822.

GYFEILLION heirddion o urddas,—enwog,
Ac anian gyweithas;
Heb gynfigen, a'i gwên gâs,
Y daethum i'ch cymdeithas.

Ein hamcan cyfan, cofiwch,—yw canu,
Er cynnal Brawdgarwch;
A phur addysg, ffloywddysg fflwch,
Buddiol i bawb, gwybyddwch.

Onestrwydd glân, diddanawl,—wy'n tystio,
Yw'n testun dewisawl;
Heddyw, on'd yw e'n haeddawl,
I gael syber fwynber fawl?

Y gŵr onest a gâr rinwedd—gwiwddoeth,
A gweddus lân fuchedd:
Bydd iddo ef dangnefedd,
A llawnfyd mewn hyfryd hêdd.

Ni arfer sèn, na gweniaith,—na mawlair,
Am olud twyll diffaith;
Ar unrhyw ofer anrhaith
Ni edrych—ni chwenych chwaith.

Iawn barchwn bawb, heb orchest—hynaws-drefn
Onestrwydd, a dirwest;
Hŵyr a boreu goreu gwest,
Yw purlan anian onest. BRYCHAN.

Mae PASTEIAU GWAHAWDD yn mhlith hên arferion neu ddefodau Blaeneu Morganwg, ac yn cyrraedd o amgylch, i'r siroedd cymmydogaethol.—Diben cynnal y Bastai yw cymmorthi y teulu a fyddo yn ei pharotoi, trwy i bob un dalu rhyw bris enwedig, neu, weithiau, yr hyn a welo fod yn dda. Rhoddir cwrw hefyd gyda'r Bastai, ond ni cheisir un tâl am hwnw. Y drefn gyffredin yw danfon Gwahoddwr trwy y gymmydogaeth, i ofyn gwesteiwyr i'r wledd. Mae gan hwn araith bennodol idd ei dywedyd yn mhob lle y galwo. Ymgorpholwyd ei sylwedd yn y Gân ganlynol:

## GWAHODDIAD I BASTEI-WLEDD.

*Mesur—"Daear-fochyn."*

1.

RHWYDD helynt i'r teulu,—'rwy'n dyfod wir difai,
Os rhoddwch bawb osteg, i'ch gofyn i Bastai:—
Menywod, gwrrywod, gwych parod, 'rwy'n peri,
I bawb yn y lletty sy'n cysgu a chodi,
Yn fawr ac yn fychan, rhinweddol o fuchedd,
Gym'dogion cyfeillgar a hygar eich bagwedd,
I gychwyn, heb ddyfais, 'nol arfer wiw ddifyr,
At Morgan a Martha sy'n byw yn mhlwyf Merthyr.

2.

Yn nhŷ y rhai mwynwych, dan ymyl y mynydd,
Cewch ran o wŷch driniaeth, os deuwch nos drenydd;
Gwaith yno, heb fethu, darperir gwledd foethus,
Gan fenyw go siriol, ac oll yn gysurus:
Yng nghyntaf daw'r Bastai, 'nol hyny cêwch ostwng
At lawer o seigiau, i'r cyllau i'w gollwng;
Daw gŵydd,—ces ei gweled,—nid caled, 'rwy'n coelio,
O honno cewch gyfran, a photten hoff etto.

3.

Ag amryw ddanteithion, lân ddynion o ddoniau,
A darfod yn felus yn mhlith cnau a 'falau:
Cewch gwrw da nerthol, rhagorol, 'rwy'n gwirio,
Ac yfed a llanw nes byddoch yn blino;
Fe'ch ceidw rhag hudwaith, mewn digon o hyder,
Yn wresog a bywiog, a llewaidd gwna llawer:
Y cwrw, 'rwy'n coelio, yw allwedd y galon,
Fe ddengys yn ddifrad os didwyll yw'r ddwyfron.

4.

Mewn oedran mae'n edrych, a gwin yw i'r genau;
O'i brofi'n rhy fynych, mi feddwais—gwae finnau!
Bydd yno, heb ryfyg, er cynnal digrifwch,
Yn mysg y da ddynion, holl gampau diddanwch;
Y Cantor a'i oslef, ŵr parod meluslais,
A glywir yn odli i'r delyn fal adlais;
Cewch arwest arbenig gan Dwm y Tribanwr,
A hwnw, mae'n debyg, yn maeddu Wil Tabwr.

5.

'Nol hyn rhaid anadlu, ac yna daw'r chwedlau,
A phawb yn llawn cysur yn mysg y llangcesau;
Rhoi'r hanes, yn brydferth, am erchyll ysbrydion,
Sy'n ofni'r hen wragedd, a chrochlais echryslon!
Ac hefyd nhwy fyddant yn gorfod cyfaddef
Am ysbryd Pontmorlais, a son am yr oerlef
A roddodd, pan gipiodd y gŵr wrth ei goppa,
Trwy'r awyr a'r oerfel, yn fuan ei yrfa.

6.

Ac yna braw dirfawr a syrth ar y dyrfa,
Rhag ofn i fwbach, neu dolach, eu dala;
A dechreu, mewn dychryn, ymguddio rhag goddef,
A chrwydro, Och! hurtwaith, wrth fyned tua chartref:
Y braw 'nol ei ddattod, ac edrych o ddeutu,
A'r ie'ngctyd hynawsedd i ddechreu cynhesu,
Y bechgyn da'u geiriau yn siarad am garu,
A'r merched o'u gwiw-nwyf mor siriol yn gwenu.

7.

Cewch weithiau gusanu'r genethod gwiw swynwedd,
Hen arfer, 'rwy'n deall, a bâr hŷd y diwedd:
Cewch wynfyd yn ddidwyll, wŷr gwiwbwyll,'rwy'n gwybod
Mi a'i barnaf yn warthus y gŵr all ei wrthod;
A finnau gâf, f' allai, le da'n y gyfeillach,
Fe haeddai'r Gwahoddwr gael rhan o'r gyfeddach:
Cawn gynnal llawenydd, gorawydd goreuwyr,
Yn ddyfal, trwy'r gwyliau, ym mharthau plwyf Merthyr.

AB IOLO.

## HANES PASTAI TWYN-YR-ODYN.

*Mesur—"Daear-fochyn."*

1.

ADRODDAF, wŷr diwair, heb gellwair, os gallaf,
A geirwir ymadrodd, y goreu 'g y medraf,
Os nad 'dych yn blino, am Bastai, ys blwyddyn,
A wnaethpwyd yn wiwdeg gerllaw Twyn-yr-Odyn,
Yn nhŷ Gruffudd Gronwy a Gwen ei wraig union,
Bu'n dynn ar y dannedd er cymmorth i'r dynion:
'Roedd yno Sais melyn, a'i ddannedd yn malu,
Hên lengcyn blonhegog, yn wastad yn llyngcu,—

2.

Annhebyg i lanwych was mawlwych ysmala,
Ond aflan ei dafod, a mawr oedd e'n difa;
Y rheibwr oedranus, er cymmaint a driniwyd,
A yrrodd trwy'i gegfa dros hanner y cigfwyd;
'Nol hyny, mor ddiflin, a gerwin y gyrrodd,
Y botten, hoff luniaeth, o'i flaen a ddiflanodd:
Hên 'nifail anafus, ei bechod nid bychan,
Yn ddiau caiff atteb am hollti'i hên ffettan.

3.

Er maint oedd y glythyn o'r loddest yn llwythog,
Am ragor, y diras, fe waeddai'n gynddeiriog:—
Medd Gwen, pan agorodd am olwyth ychwaneg,
"Pe gweiddit dros wythnos, 'dwy'n deall dim Saesneg;"
Mewn geiriau tra geirwon, medd hwnw, er hyny,
"I'm tired of bawling, I've not fill'd my belly;
"A piece more of pasty,—I've paid you impostor;"—
Ac eilwaith yn tyngu a rhegu am ragor.

4.

Oddieithr y mochyn mor aflan ei fuchedd,
'R oedd pawb yn ymosod i 'madael â maswedd,
I gynnal, mewn heddwch, diddanwch rhwydd hoenus,
Yn Gymry dymunol, da hollol, deallus:
'N ol yfed y ddiod, hen ddefod, yn ddiflin,
Heb neb yn ei gwrthod, a'r ie'ngctyd yn chwerthin,
Medd Wil y Taplaswr, ei syched heb laesu,
"Mi ddalais y ceispwl fu'n hir yn ein cospi:

5.

"'R wyf yma'n wr diddan, heb gwynfan, mewn gwynfyd,
"Heb adwyth na gofal, mi rwydais y gofid;
"Mor oer oedd fy mhlaned, bu'n hir yn fy mlino,
"Mae'r moddion mor hynod, mi a'i maeddais ef heno;
"'R wyf am ei gyhuddo mewn llŷs yn gyhoeddus,
"A cholli'r hen wylliad,—na fyddwch yn wallus,"
Yn foddlon i'r eithaf, ymunodd y doethwyr,
I gospi'r gŵr aethus, ac enwyd y rheithwyr:—

6.

Yng nghyntaf, Dai lawen, a Dic y melinydd,
Gwir difrad ei orchwyl, llaw anwyl llawenydd,
A Lewys ŵr difyr, a Lleison da'i dafod,
A Morus ŵr mwynaidd, â'i beraidd gân barod,
A Morgan ddifyrgar, a Meurig y morwr,
Y goreu o gwmpas, a Harri y campwr,
A Thwm y teul'eiddyn, a Rhys y telynwr,
A Robin o'r Aber, a Hwlyn yr holwr.

7.

Ac erchwyd i'r deuddeg lawn osteg yn wastad,
A Wil y tafarnwr a roddwyd yn feirniad:
Ond rhag bod yn fanol, a blino'ch amynedd,
Adroddaf yn dawel fel gwnaethpwyd o'r diwedd;
'Nol clywed y tystion, gwŷr union, gwâr enwog,
Heb wyrni, do yno, fe'i barnwyd yn euog;
A'r ddedryd a roddwyd, y cenau fu cynddrwg,
Oedd boddi y gelyn, a'i gladdu o'r golwg:—

8.

Ar hyn dyma'r haelwyr, yn llanw eu phiolau,
Yn ge'nllif i'r Gofid, a'i yfed i angau;
'Nol boddi'r gŵr diflas, fe gafodd ei daflu,
Yn gelain o'r golwg, a mawr oedd y gweiddi—
Y ddamwain ragorol yn hollol fu felly:—
Heb ochain dan gamrwysg,—yn iach i'r hen Gymry;
Cyfranwch o draserch i'r tlodion o'ch trysor,
'Nol myn'd oddiyma bydd i chwi hawdd ammor. AB IOLO.

## CAN IDD YR HYNOD GYMDEITHION,

### (ODD FELLOWS.)

*Mesur—"Calon Derwen."*

1.

Cydneswch trwy'r gwledydd ar gynnydd i gŷd,
Cewch weled yn Merthyr iawn Frodyr un frŷd;
Eu cynnes amcanion, dybenion di boen,
Yw cynnal eu defod, trwy hynod wiw hoen;
Mewn bwriad diball, er llwydd naill y llall,
Nid suraidd wael soriant, oer fwyniant i'r fâll,
Ymdrechant bob gŵr, mwyn siriol, mae'n siwr,
  I gadw gonestrwydd,
  Mewn geiriau ac arwydd,
Trwy helynt tra hylwydd, distawrwydd heb 'stwr.

2.

Mae dethol Gymdeithas, wir addas ei rhyw,
O fawr gynnorthwyon, neu foddion i fyw;
Heb gelu i'w gilydd, maent beunydd yn bod,
O fwyniant yn fynych, wŷr clauwych eu clod;
Pwy fedr heb fai, 'n un lle ammeu llai,
Heb ddeall eu cynghor, wiw drysor didrai,
Dirgelwch yw'r gwaith, rhyfeddod rhy faith,
  I neb ond eu hunain,
  Iawn haelradd ei olrhain,
O Ddeheudir Brydain i'r Dwyrain fawr daith.

3.

Mae pawb a adwaenant y llwyddiant a'r llês,
Aelodau goludog, mwyn gwridiog mewn gwrês,
I ddàl at yr unrhyw, tr'ont byw yn y bŷd,
I lunio'n haelionus, a hoenus o hŷd:
Er cymmaint dan nèn, hyll hynod eu llèn,
Sy'n rhestr fel rhwystr, disynwyr a'i sèn;
Cyfeillach yw hòn, ddibryder o'r bròn,
  Sy'n para'n dra chyson,
  Mor rhwyddaidd eu rhoddion,
Fel cydgyfranogion, wŷr dewrion ar dòn.

4.

Mae'r Hynod Gymdeithion yn ddynion o ddysg,
A thyner iaith union, wŷr mwynion i'w mysg;
Mwyn hyddawn mewn heddwch, gwybyddwch eu
bod,
Fel darnau trwy'r deyrnas, iawn addas eu nôd:
Mae taerion ein tir, pawb siriol, pob sir,
Yn hoffi'r anrhydedd wŷch loywedd a chlir;
Aed beunydd yn bèn, ddwys siriol, ddi sèn,
Ewch rhagoch, mawrygaf,
A'r ddethol ffordd ddoethaf,
Hedd geraint hawddgaraf, dymunaf, Amen.
T. AB GWILYM, Eglwys Elian.

## MOLAWD I WEITHYDD GLO ENWOG.

*Mesur—"Mynediad Rodney."*

1 CLYWCH hanes Glöwr hynod,
A dewrglod yma ar dir,
Am dorri glô, ŵr glewaf,
A'r gwychaf, dyma'r gwir;
Wŷr hylwydd na wnewch holi,
Na synnu yma'n siwr,
SHON, hyfab Thomas Ifan,
Dewr gwiwlan ydyw'r gŵr;
Try allan lô dynelli,
A'i dorri ar bob dydd,
Fwy nifer yn Mlaenafon,
Nâ'r goreu o'r Saison sydd
Beunydd yn ymboeni
Am ei orchfygu'n faith;
Mae'n gystudd i'r Hengistiaid
Ei weled wrth ei waith;
Mae megis Iarll Caerloyw,
A'i gledd hoyw ar ei glîn,
Hil bradwŷr chwar'wyr chwerw
Gânt farw ar ei fin:

Pob gelyn wyneb galed,
  A drinied am ei drais—
Fal hyn ca'dd SHON ei wynfyd
  Ar bob rhyw surllyd Sais.

2 Nid yw ef am orchfygu,
  Na baeddu neb o'r byd,
Ond y Saison, wŷr erchyllion,
  A'u drwg ddichellion drud;
Mewn awydd y mae IOAN
  Am dorri'u hamcan hwy,
Ni chânt trwy wlâd y Cymry,
  Gan neb mo'u moli mwy:
Er eu bod mor uchelfrydig,
  Ac eiddig ffreingig ffroen,
Hwy gawsant eu gorchfygu,
  'Rwy'n pènu, am eu poen;
Nid da hoen mo'r gwyr dihir,
  Yn glir i dorri glô,
SHON a yrrai'r Saison,
  Rai ceimion, oll o'u cô':
A'i bigau, llafnau llyfnion,
  A'i gunion meithion mawr,
Ac eitha' gordd i'w gweithio,
  Gwna luchio glô i lawr;
Wr dirfawr yn ddiderfyn,
  Fal hyn gwna'n sŷn bob Sais
A fyddo yn ei erbyn,—
  Un cethin yw, os cais.

3 Pan bo'n ei *gwt* yn *cyto*,
  Neu'n *holo* ar ei hynt,
E fydd ei draed a'i ddwylo
  Yn gweithio fal y gwynt;
Os digwydd cymmysgiadau,
  Neu g'lymiau yn y glô,
Er gwaetha' pob cyfnewid,
  Wr drud, fe geidw'i drô;

Gwna hyn tra byddo'r Saison
  Wŷr gwaelion, wrth eu gwaith,
Yn methu cadw eu troion,
  Rai gweinion, llyfrion llaith;
Mewn araeth, O! mor oeraidd,
  Yn gwneud eu dannedd dig;
Shon cu lwyr 'r ydwy'n coelio,
  Wrth weithio i'w plago a'u plŷg;
O nwydau yr hên neidyr,
  Mal ŵyn ar dir fe'u dwg,
I adael eu dichellion,
  A'u hyllion droion drwg;
Heb gilwg ar dir golau
  Fe'u gwna yn *ffryndiau* ffraeth,
Ni soniant byth am weithio
  'Nol *treio* Cymro caeth.

4 Wrth goffa Hors a Hengist,
  Dau ŵr di *dryst* a drwg;
Mae natur Cymro'n 'nynu,
  Fel tân yn magu mŵg;
Ac hefyd wledd Caer G'radog,
  A'r cyllyll miniog mawr,
Fu'n lladd goreuon Cymru,
  Ond un gâf nodi 'nawr;
Sef Eidiol Iarll Caerloyw,
  Wr gloyw, ni cha'dd glwy',
Trwy ddeall eu dichellion,
  A'u troion hyllion hwy;
Fe ga'dd gynnorthwy nerthol,
  Trwy drosol oedd dan draed,
Ag ef gwnai ddeg a thr'ugain
  Yn gelain yn eu gwaed:
Dihangai'n ŵr dihangol,
  O'u canol megis cawr,
'Nol dodi gwŷr * Sermania
  Yn llorfa ar y llawr:

* Germany.

Wr clodfawr er caledfyd,
A'r drygfyd hyll oer drais:
Mae ambell Gymro a wna etto
Fal hwn arswydo Sais.
GWILYM HUGH, Llanfair.

Y gorwych Gymro gwrol—a faeddodd
Y fyddin estronol;
Darfu eu bost ymffrostiol,
A'u gwâg hyder ffalster ffôl. BRYCHAN.

## CROESAWIAD MORGAN SHON RHYS

I SYRHYWY, yn y fl. 1820.

*Mesur—"Arglwyddes trwy'r Coed."*

1 CHWI Lowyr, a Mwyngloddwyr
Syrhywy, weithwyr oll,
Clywch hanes gweithiwr hynod
Sef MORGAN RHYS a'i osod,
Wr difai 'nol sy'n dyfod,
I'w ganfod yn ddi goll;
Yma i waith Syrhywy'n wir,
O! mor glir, a mawr glod,
I'w hên gym'dogaeth degaidd,
Wr haelaidd is y rhôd:
Groesawyd y gwr sywaf
Gan Meistyr Jones cysonaf;
A gwaith i'w law, yn ddwys a ddaw,
Un difraw hylaw haelaf:
Er bod oddiyno amser,
Wr digoll, yn Nhredeger,
A'r gofid ar ei gyfer,
Gwyr llawer yn y lle,
Daeth fel y mab afradlon,
O'i droion pell i dre'.

2 O fewn i waith Syrhywy,
D'wedaf hyny f' hun,

Y magai'i blant anwyla',
Sef, *Mari*, *Bili*, *Sarah*,
*Ratshel*, *Shon*, a *Martha*,
A *Rhys* yr i'anga' un:
Iach en lliw, gwycha'u llun,
Medd pawb oll, yw pob un,
'Does gŵr a gwraig yn unwlad
A'u tyniad mwy cytûn:
Mae MORGAN RHYS yn brysio,
Mor faith am waith i'w weithio,
A gwaith a gawn, i'n lloni'n llawn,
Pan ddelo'n iawn i'w ddwylo:
A lle i ennill arian,
Er mawrged gyda MORGAN,
Gŵr onest yw o anian,
Dda wiwlan, fwyn ddi wâll,
Gwna'r enwog ŵr mor union
Yn llòn, i'r naill i'r llall.

3 Didwyll heb ammhwyll yma,
Yw'r gŵr, hawddgara' i gŷd,
Fu'n wrol iawn flaenorwr,
Ag eithaf feistyr gweithiwr,
A'u hoyw-wych gynnorthwywr
Iawn hwyliwr hardd o hŷd:
Gwnawn godi'n gwaedd gydag ef,
Bob dŷn yn awr dan y nef;
Yn wrol rho'wn soniarus,
Lòn orfoleddus lef;
Ni cha'dd un dŷn fu dano,
Un *hop*, ar *shop* na'i *stopo*,
Fel gwna rhai crach, hyll feistri bach,
Crib-ddeilach afiach ddwylo,
Sy'n fynych yn anfwynion,
Fal bradwyr, treiswyr trawsion,
A'u geiriau'n eitha' geirwon,
Afradlon surion s'dd,
Am fawrgais—nid fel MORGAN,
Was diddan nos a dydd.

4 Gan MORGAN RHYS cawn reswm,
Mewn eitha' cwlwm eâll,
Yn fanwl i'n gofyniad,
O iawn bwyll rhŷdd attebiad
Fo'n eglur, ac amlygiad,
Was gwiwfad, in' os gall:
Hoenus ŵr, hynaws yw,
Llawn o barch, lle mae'n byw;
A thuedd gynnorthwyol,
Rinweddol, siriol, syw:
Er gweled *print*, a 'sgrifen,
Yn llŵyr ni fedra'u darllen—
Mae'n gawr maith i Gomer Iaith,
A siriol waith ei * Seren;
Yn bènaf fe dderbyniodd,
Wr cu dwys, 'ddiar pan cododd,
Yn addas rai blynyddoedd,
Fe gynnorthwyodd hòn;
Boed iddo fyth heb fethiant,
Bob ffyniant, llwyddiant llòn.

GWILYM HUW.

---

MORGAN RHYS, mwynlan a maith—un hyffordd,
Sy'n hoffi'r Omeriaith;
Ei yrfa fyddo'n hirfaith,
Gyda ni godi'n hiaith.

Poed hŷd ei fêdd wir heddwch—i MORGAN
RHYS mawrgu, heb dristwch,
A phob syber ffloywder fflwch,
Llawn addas mewn llonyddwch.

BRYCHAN.

* Seren Gomer, idd yr hon y mae M. R. yn gynnorthwywr ffyddlon, oddiar eu hymddangosiad cyntaf.

Y CYHOEDDWR.

# MOLAWD IDD YR IAITH GYMRAEG.

*Mesur—"Rhyfelgyrch Beleil."*

D. S. Canwyd y pennill cyntaf o'r Gân hon ar ffurfiad y Gymdeithas Gymreig yn Aberhonddu, Gorphenaf y 7fed, yn y fl. 1823, gan HYWEL AB IOAN: a chan fod y Bardd clodwiw hwnw yn un o Feirdd Gwent, tybia y Cyhoeddwr na thramgwydda efe wrtho am gyhoeddi ei bennill pereiddwych yn ei gasgliad, gan ychwanegu atto dri phennill arall o'i eiddo ei hun. Da fuasai gan y Cyhoeddwr pe buasai ganddo ychwaneg o waith yr Awdwr teilwng uchod, i'w osod yma.

1 DE'WCH gyfeillion o un galon,
Chwi Frythoa union oll,
I ddàl, a chodi ein Hiaith o ddifri',
Rhag iddi fyn'd ar goll;
Rhyw lif o draha ddaeth o Loegria,
I gyrrau Gwalia gû;
Gan fygwth 'sgubo'n Hiaith, a'i chuddio
Mewn dwfn angau dû!
Hên Nef Iaith grêf ddi grŷd
Ein tadau, a phenau'n tûd,—
Hên Iaith doethion, Iaith T'wysogion
A boreu ddewrion bŷd:
A gaiff y Saison dd'od i fysg Brython,
A'u hestron glytiaith hwy?
Ac a gaiff gwiwgu Famiaith Cymru,
Ddiflanu, a methu mwy?—
Na, na, ymunwn ni,
Heb gêl, i'w harddel hi,
Er colli'n tiroedd, a'n hiawnderau,
A'n breintiau gynt, a'n bri;
Ein Nêr a folwn—ein Hiaith a gadwn
A gwaeddwn oll i gŷd,
"Cymraeg ymdaeno, ac enw Cymro,
A baro tra bo byd."

H. AB IOAN, Dyfynog.

2 Ni all dichellion rhai penweinion,
Taiogion beilchion bŷd,
Na dych'mygion, gwŷr anfwynion,
A'u holl afradlon frŷd;
Er eu coeglyd sŵn ceintachlyd,
A'u hynfyd surllyd sèn,
Hên Iaith Gomer, lân oreuber,
Bob amser fydd yn bèn:
Er maint yw'r swnio sŷdd
'N ei herbyn nos a dŷdd,
Ein Hiaith wiwfad gaiff dderchafiad,
Trwy'n gwlâd, a rhediad rhydd:
Mae Bon'ddigion, a Llênyddion,
A glewion Feirdd ein gwlâd,
Gyda'u gilydd o un galon,
Dros hon, wŷr mwynion mâd;
A'r Cymdeithasau llòn,
Sy'n awr trwy'r deyrnas hòn,
Sy'n gwneud eu rhan mewn anian unol,
Wŷr breiniol oll o'r brèn;
Clywai'r rhei'ny â'u holl egni,
Yn gwaeddi oll i gŷd,
"Cymraeg ymdaeno, ac enw Cymro,
A baro tra bo bŷd."

3 Ni lwydda llymder un offeryn,
A wneir yn erbyn hòn,
Gan duchanwyr, ffol disynwyr,
A bradwyr dig o'r bròn;
Nis gall balchder, llid, a ffalster,
Na digter chwerwder chwith,
Fwrw ymaith ein gorheniaith,
Na baeddu'n mamiaith byth:
'Deill Dic Shon Dafydd dŵn,
Na mil o eppil hŵn,
Faeddu'n doniog Iaith gref-eiriog,
Odidog, gefnog, gŵn;
'Does un Iaith ddynol, wŷch ragorol,
Mwy buddiol nâ hi'n bod;

Na manylach Iaith bereiddiach,
  Na'i rhwyddach dan y rhôd:
Iaith Gomer seinber syw,
Iaith gaerog enwog yw;
Rhwng brodorion Cymru dirion,
  Yn burion hi fydd byw:
Rhoed pob Brython floedd hyfrydlon
  Gref ëon yn ddi grŷd,
"Cymraeg ymdaeno, ac enw Cymro,
  A baro tra bo bŷd."

4 Tra bo dyfnion ddyfroedd mawrion,
  A thirion hinon hâ',
Ein Hiaith ryfedd, fwyn gyfrodedd,
  Bêr hoyw-wedd a barhâ;
A thra bo haulwen lŵys oleuwen,
  Yn y ffurfafen faith,
A llu breiniol y nef wybrenol,
  E bery'n hethol Iaith:
Tra byddo Bardd yn bod,
Yn medru c'lymu clod,
Ein Hiaith lawn rymus, fydd yn barchus,
Mewn hoenus nwyfus nôd;
Hi gaiff yn llonwedd bob anrhydedd,
Ymgeledd gloyw-wedd glwys,
Gan bob Brython onest union,
O'i galon, ddwyfron ddwys:
Ymunwn ninnau 'nawr,
O anian wiwlan wawr,
Oll ar unwaith, i barchu'n mamiaith,
Y faith Omeriaith fawr;
Rhown dair nerthol floedd gydseiniol
  O unol frawdol fryd,
"Cymraeg ymdaeno, ac enw Cymro,
  A baro tra bo bŷd."

Gymmrodorion llôn yn llu—ymunwch,
  Mewn anian fwyneiddgu;
  Cynnes, on'te? yw canu,
  Mawl i'n mamiaith geinfaith gu. BRYCHAN.

# CANIADAU CARWRIAETH.

## ANERCHIAD I FERCH IEUANC.

*Mesur—"Boreu Dydd Llun."*

1.

I'TH annerch Gwèn fwyn,
Ar fy'm cwyn os gwrandewi, lliw'r lili, lloer lân,
Cei 'madrodd dirodres, yn gynnes ar gân;
Dy hoffi a wnes,
Y ddynes wiw ddoniol, dda siriol ei sain,
A mwynaidd ei mynwes, hardd gynnes gu gain;
Lloer haelwych, lliw'r haulwen,
Wiw raddol ireiddwen,
Ni rodiodd daearen un seren mwy syw;
Un harddaf is wybren,
Ei llun yw'r feillionen,
A'i thegwch fal Eden, oleuwen o liw,
Mae'n siriol fal Sarah, mi'i mola'n fy myw;
O'i thraed mae lliw'r ewyn,
Wŷch iraidd i'w choryn,
I'm golwg fal perlyn, neu rosyn yr hâ';
Neu'r mân ôd dymunol,
Gwèn addfwyn gynneddfol,
A'i 'madrodd cymhedrol, mûn ddoniol, mae'n dda,
Rhoes hòn, a'i rhinweddau, dan glwyfau fi'n gla'.

2.

Daeth *Ciwpit* i'r lle,
A'i saethau mor sythion, rai llymion eu llais,
A'r galon fe glwyfodd, fe'i t'rawodd mewn trais;
Wrth edrych ar lûn
Y fwynaidd fûn fanol, hoff freiniol a ffraeth,
Lliw lili'r dyffrynoedd, a'm gwthiodd i'n gaeth;
Waith i mi roi'm *ffansi*,
Mor bell ar liw'r lili,
Fy nghariad sydd atti, heb oeri bob awr;
Prŷd cyntaf ei gwelais,
Ei glendid a hoffais,

Er hyny'r fûn gynnes, ni fwriais i fawr,
'Gwnaeth arwain fy einio's, fal llinos i'r llawr;
  Am hyny 'mûn ddifrad,
  Iawn ystyr yn oestad,
A dere trwy gariad, i'r c'lymiad mwyn clir;
  Clyw'r siriol wiw seren,
  Fy agwedd sy'n egwan,
O'th gariad fy'm ceingen, 'rwy'n gera'n dan gûr,
Er cymmaint yw'm pènyd, rhaid gwedyd y gwir.

3.

  Ti ydwyt, lliw'r ôd,
Yn auraidd glod Aeres, fal duwies ar dwyn,
A finnau'n ddiofal laac meddal a mwyn;
  Tydi sydd o hŷd,
F' anwylyd 'rwy'n ofni, 'n hyderu am y dâ;
Os caru di rhei'ny dy gwmp'ni nis ca';
  Y sawl a hydera,
  Yn y golud, fe gilia,
Mal eryr dyrchafa, eheda ar ei hynt;
  A'r cyfoeth diddeunydd,
  Mor ddirfawr a dderfydd,
Pan darffo'r llawenydd, â'u gwenydd fal gwynt,
Ond cariad dirodres fydd cynnes fal cynt:
  Am hyny Gwèn dirion,
  Gwell 'chydig o foddion,
Na llawnder taiogion, rai digllon eu dawn;
  'R ol cael rhagorfreintiau
  Mawr yn eu meddiannau,
I'r galon mae ciliau, a'r lle ni bydd llawn,
Boddlonrwydd i'r meddwl yw'r cwbwl, os cawn.

4.

  Er cymmaint yw'm clwy',
Mae mwy o lysieuau'n dy ruddiau da'u rhyw,
A'u trwsio trwy draserch, y swynaidd ferch syw;
  Rhinwedd y rhai,
Eill iachau holl archollion, y ddwyfron ddifrâd,
Heb wario mo'th arian, cei Rhian hwy'n rhad:

Cais lysiau gwir *ffansi*,
Dail tirion tosturi,
A rhosyn serch gwedi aeddfedu o wir fodd;
Gwraidd cariad, a phurdeb,
Hâd iawn dwys ffyddlondeb,
A blodau cywirdeb, iawn undeb eu nodd,
Ac *iwsa* ffrwyth nawsaidd, amynedd 'r un modd,
Cais winwydd pereiddia',
Mûn burwych, a berwa,
Mewn gwlith o fwyneidd-dra, 'rhai yma bob un;
A dere, lliw'r manod,
Er cysur, a gosod,
Yn ddiau i mi'r ddiod dda hynod dy hun,
Gwna hwnw fi'n hoenwych a llonwych fy llun.

LEWYS, Coedmeirig.

## MORWYNIG LAN MEIRIONYDD.

*Mesur—"Calon drom."*

1 MEWN gwlad ddyeithr, eiddil wrthrych,
F' anwyl Feinir 'rwyf yn fynych,
Am dy weled yr wy'n waeledd,
Yma'n gul, heb fawr ymgeledd;
Ond pan gwelwy'r Hydref gwiwlon,
Fe ddaw natur
Etto'n ddifyr at y ddwyfron,
I gael myned dros y mynydd,
At 'r un serchog,
Sydd mor enwog yn *Meirionydd.*

2 Mewn gwiw fwriad mi gyfeiriaf,
At fy lodes etto *lediaf*;
Tramwy i'w golwg, trom yw'r galon,
Eisiau, meddaf, *iwsa* moddion,
Mwyn puredig, mewn priodas,
'Stâd yw hono,
Mae Duw'n addo ei bod yn addas;
Er mwyn cariad 'rwyf mewn cerydd,
A mawr hir'eth,
Am yr Eneth sy'n *Meirionydd.*

3 O! fy Ngeneth, cofia 'nghwynion,
Wycha' golud, iacha galon,
Dŷn o'th herwydd, sy'n dwyn hiraeth,
Gwna'n ddigynnwr feddyginiaeth;
Yma'n fynych, fi chwennychwn
Gael dy gwmp'ni,
Yn faith 'leni, fi'th ddilynwn;
Pe cawn i'm perchen wŷch adenydd,
Mynwn symud
Ar fyr ennyd i *Feirionydd.*

4 Arf o lwyddiant orfoleddus,
Gu oedd Sarah, 'r fun gysurus
Gynt i Abra'm ddinam ddoniau
Eurglod feinir, erglyw finnau;
Ni gawn helaeth lawn gynnaliad,
Byddwn foddlon,
I Dduw'n fwynion, a'i ddanfoniad;
Erfyn wnâf yn benaf beunydd,
Heb un awrloes,
Am hir einioes yn *Meirionydd.*

5 Y mae 'nymaniad, O fy meinwen,
Auraidd siriol, oreu seren,
Y ceir ein gweled gyda'n gilydd,
Mewn rhwymyn cariad, heb ddim cerydd,
Yn ddwys gadarn trwy ddysgeidiaeth
Heb dorri rhwymau
'N cywir eiriau, na'n carwriaeth;
I gael gorphen mewn llawenydd,
Ein gyrfa'n gryno,
A marw yno, yn *Meirionydd.*

Wm. Davis, Coed-y-cymmar.

---

Clywch hiraethlon gŵynion genn'i,
Dŷn wy' sy beunydd yn ymboeni,
Am y goreu 'rioed a gerais,
Fwyn rinweddol, ddoniol ddynes,

Pe cawn i'n wirfwyn, hoff gyfarfod,
  Tua'm *Nansi*,
I ddewr oesi ar ddaear isod,
Ni bu'n llòn unwaith fwy llawenydd,
  Na hyn o berwyl,
O! mor anwyl, yn *Meirionydd.*

7 Mae merched cynnes yn Morganwg,
Hardd a diddan, wiwlan olwg;
Ond nid oes gynnyg yma genn'i,
Mewn un gamp unwaith i'w cwmpeini
*Nansi Puw*, tro'i byw'n dra buddiol,
  Leuad wiwlwys,
Sydd yn gymmwys i mi ganmol;
Hon dderchafa i'n benna' beunydd,
  Mae'i chlod allan,
Mewn mawr anian yn *Meirionydd.*

8 Mae pob rhinweddau doniau dynol,
Yn fy meinwen, seren siriol,
Mae'n fwyn dda hollol fûn ddeallus,
Wir serchoglan gyfan gofus;
Pe cawn hi'n deilwng rhwng fy'm dwylo,
  Gwnawn yn gynnes,
Wychaf lodes, ei chofleidio;
Byth mi'i caraf er pob cerydd,
  O flaen pob elw,
A mawr enw yn *Meirionydd.*

9 Mi âf o *Ferthyr* a'r *Gyfarthaf*,
O *Goed-y-cymmar*, hir y camaf,
Dros y mynydd mewn amynedd,
I daer gynnyg am dir Gwynedd;
I gwrdd â'm *Nansi* yn fy'm unswydd,
  Brysia'i dramwy,
Am y wobrwy hyn yn ebrwydd;
I gadw'n gwlwm gyda'n gilydd,
  Mewn cariad perffaith,
A marw ar unwaith yn *Meirionydd*.

10 Hyn o gysur wy'n ei geisio,
Tra b'wyf ar y tir yn tario;
Os na cha'i'm dynes wycha'i doniau,
Colla'i f' einioes, Ow! gwae finnau;
Ni cheir fy ngweled gan fywiolion,
Mewn gwely hirnos,
Câf gyd-ymaros gyda meirwon,
Mor anaddas fe ddaw'r newydd,
I mi farw,
Am ryw fenyw o *Feirionydd.*

W<sup></sup>M. WALLTER.

---

11 OND 'rwy'n gobeithio etto heb attal,
Y caf heb gŵyno gyd-ymgynnal,
Gydâ meinwen mae 'nymuniad,
Cyn fy marw, os ca'i mwriad;
Pêr awr felus, pur orfoledd,
Fydd cael Mûn fawrbris,
Wedi'i dewis hyd y diwedd:
Mal seren oleu ar foreuddydd,
Mae hon yn edrych,
O! mor iawnwych, yn *Meirionydd.*

12 O gariad hòn, fy'm calon, coeliwch,
Aeth heb gysuron gwiwlon, gwelwch;
Ond ei serchogrwydd hylwydd helaeth,
Sy'n ddigonol feddyginiaeth;
A chael y g'lomen i wych g'lymiad,
Mi ddè'wn heb ammau,
Ar fyr o'r gofau trwy fawr gariad;
Heb fêth, na niwed, y fath newydd,
A ddodai'nghalon
I mor union yn *Meirionydd.*

13 O! mor gywrain yw mawr gariad,
Mwyn hyfrydol, raddol wreiddiad,
Dyma drysor mwyn didrosedd,
Bâr yn dawel hyd y diwedd;

Pûr rhagorol, fuddiol feddiant,
  Ydyw mawrbwyll,
Nodau didwyll, da dywedant;
Dyna harddwych ffraethwych ffrwythydd,
  Sydd fal eurfrig,
Uwch morwynig iach *Meirionydd*.

14 Yn nes at hòno mewn naws tynaf,
Dros y meusydd, cwmydd, camaf,
I'r lle hynod mewn llawenydd,
Heb ymboeni yma beunydd,
Mae un dydd yno mewn diddanwch,
  Yn well yn ddiau,
Na blynyddau heb lonyddwch;
Yn awr mae 'newis, âf mewn awydd,
  'Chaiff Gwèn ddiddig,
Fod mor unig yn *Meirionydd*.

15 O! mor anwyl fydd Meirionydd,
A llûn lliw'r hinon llawn llawenydd,
Hon a gara'i'n benna' beunydd,
O forwynion sir *Feirionydd*;
I sir *Feirionydd* ddedwydd ddidwyll,
  Af yn llawen,
A digynnen, at y ganwyll:
Yn iach Morganwg oer ddigynydd,
  Af i edrych
Fy morwynwych i *Feirionydd*.

G. MORGANWG.

## CWYNFAN LLANC GWEDI COLLI EI GARIAD.

*Mesur—"Gadael y tir."*

1 GWRANDEWCH arna'i'n cwynfan
Mewn gofid yn gyfan,
Gwaith colli merch wiwlan,
  Rhoi f' hunan 'rwyf fi,
I boenau anfwynaidd,
Rai geirwon ac oeraidd,
  Afluniaidd, erchyllaidd o'i cholli.

2 Nid ydwyf i'n 'nabod
Un Feinir mor fawrglod,
Mor ddifai i ddyfod
Mewn ammod â mi,
Ond troes ei gwrth'nebiad,
Yn chwerwaidd i'w chariad,
Oedd ddifrad—Och hylled ei cholli.

3 Er achwyn mewn nychdod,
A hithau'n fy ngwrthod,
Yn gyson rhaid gosod,
Mai hynod yw hi;
Yn ddidwyll mi dd'wedaf,
Hyd angau mi dyngaf,
Mai'r lanaf a'r gallaf wy'n golli.

4 Gwell ymswyn mewn amser,
Nâ blasu ar bleser,
Can's dilyn gwaith ofer,
Wna brudd-der heb ri';
Er 'mod i ar droion,
Yn laesu dan loesion,
A dyfnion archollion o'i cholli.

5 Meddyliais, Mûn lanwedd,
Dy gael yn ymgeledd,
I'th gadw mewn mawredd,
Hoff rinwedd yn ffri,
Ond troest yn wrth'nebol,
I'th gariad serchiadol,
Anfoddol, dêg hollol, dy golli.

6 Er maint yw fy ngalar,
Awn atti'n 'wyllysgar,
Pe byddai Gwên hawddgar
Yn fwyngar i fi;
'R un liwdeg gofleidiwn,
A boddus iawn byddwn,
Pe gwypwn y gallwn heb golli.

7 Er maint yw'r blinderon,
Sy'n nghilian fy nghalon,

O'i hachos lliw'r hinon,
 Hyfrydlon o fri;
'Rwy'n pennu ar un-gair,
Mai dynes ddianair,
 Fwyn ddiwair, heb gellwair, wy'n golli.

L. MORGANWG.

Tra hynod yw'm trueni,—a'r galon
 O'r gwaelod yn ochi;
 I oer fedd, ar fyr âf fi,
 I'w gelloedd, waith dy golli.

---

## CAN ARALL AR YR UN TESTYN.

1 CLYW'r Feinir lân fwynaidd,
Ar gwynion dŷn gwanaidd,
O'th gariad, Mûn g'ruaidd,
 Wy'n bruddaidd fy'm bròn;
O achos dy hoffi,
Lliw'r hinon, lloer heini,
 'Rwy'n poeni, ti weli, fûn wiwlon.

2 Gan ofid a blinder,
Ansiriol bob amser,
'Does mynyd esmwythder,
 Na mwynder i mi;
Mewn eitha' caethiwed,
Heb un ferch ag aned,
 I'm gwared, na 'styried fy 'stori.

3 'Does dŷn ar y ddaear,
Wyr faint yw fy ngalar,
O'th herwydd Gwèn hawddgar,
 Fwyn liwgar, fain lòn;
Daeth *Ciwpit* â'i saethau,
Rhoes irad frathiadau,
 A chlwyfau yn nghiliau fy nghalon.

4 Yn rhwyddgu, loer hawddgar,
Gwna'm cyrchu o'm carchar,

Na ddâl fi mewn galar,
I drydar mor drist;
Trom blaned a'm blinodd,
Hon hefyd o'm hanfodd,
A'm clwyfodd pan ruthrodd mor athrist.

5 Gwèn hawddgar bydd barod,
I'm tynu o'm nychdod;
Rho imi ollyngdod,
Rhag briwfod a brêg;
Na âd im' och'neidio,
Yn waelaidd, nag wylo,
Gofidio, na chwyno ychwaneg.

6 'Does un ond dy hunan,
Y lili oleulan,
Yn nghanol pob ffwdan,
Wna *Ifan* yn iach;
Tyr'd bellach heb ballu,
Yn glau i ymg'lymu,
Gwna hyny im' dy garu'n rhagorach.

BRYCHAN.

Am danat ti fy'm dynes—wiw ddoniôl,
Lwys ddinam fon'ddiges;
Fy nghalon, clyw, f' angyles,
Sy'n farwol, heb wreiddiol wres.

Ow! achos mawr i ochain—a gefais,
A gofid i'w olrhain;
Clyw f' angyles gynnes gain,
O gariad 'rwyf i'n gerain.

Fy meinwen gu gymengall—O! gwrando
'N gywreindeg a deall,
Mae fy natur bûr heb ball,
Yn dirwyn mewn nôd oerwall.

Os mynni, gelli, heb golled—roddi
Gwir addas ymwared,
I un eiddil di nodded,
O'i flinderon creulon, crêd.

O! dere, meinir dirion—i laesu
Fy loesau tra chwerwon;
Dy wên di, y lili lòn,
A wellai'm holl archollion. BRYCHAN.

### ENGLYN I FERCH BRYDFERTH.

Llawn o rin a challineb—yw meinir,
Fo mwynaidd ei hatteb;
Oes rhai'n bod?—'dwy'n 'nabod neb,
Na wêna yn ei hwyneb.

### MAWR SERCH LLANC IEUANC AT EI ANWYLYD.

1 'RWYF gwedi rhoi fy mryd,
Ar Feinir hardd ei phryd,
O achos hòn, daeth briw i'm bron
Archollion, drwion drud;
Fy'm gweddi faith sy am fwydd i'r daith,
Gan effaith synwaith serch,
Dan gûr wy'n gân, bron llwfrhâu;
Am gael mwynhâu y g'lomen glân,
Y fwynaidd orau ferch.

2 Fy'm gwyllys sydd am gael
'R un dirion hylon hael;
Am dêg ei phryd, 'rwyf i o hyd,
Mewn tristyd gwywlyd gwael:
Pe cawn i hòn, 'r un liwus lòn,
Cawn wella 'ngwallon ôll,
'Does meddyg dâ, na swyn a wnâ
Fy nwyn o'm trâ, a'm blinfawr blâ,
Ond Gwèn a'm gwella heb gôll.

3 Mae cariad megis cawr,
Try'r ucha'i bèn i lawr,
Gwna'r cryf yn wàn, fal gwnaeth ei ràn,
Ar *Alecsander* fawr:
Am *Cleopatria* lona' lûn,
Bu'n dyoddef gerwin gûr;

'R un fodd wyf i, mewn uchel gri,
Am dani hi, Gwèn fawr ei bri,
Y beraidd lili bûr.

4 Mae trachwant mawr a gwŷn,
Yn denu llawer dŷn,
I fyn'd dan iau, i ymg'lymu'n glau
Meddiannau'r ddau yn un;
Pan gilio'r cyfoeth, derfydd serch,
Bydd dygyn anerch dig;
Trwy ddinam ddawn, os uno wnawn,
Nid cyfoeth gawn, ond cariad llawn,
Sydd drysor iawn a drig.

5 Geill yr un wiwlon wŷch,
Heb ffoi, hardd droi fy'm drŷch,
Os gwna hi 'sgoi, ni waeth fy nghloi
Ar frys, a'm rhoi'n y rhŷch;
Os gwycha'i gwedd baid addo hedd,
Cai'm gostwng i fedd gist:
Os gwna lliw càn, ymroi o'm rhàn,
A dod i'r llàn, hi'm dwg o dàn
Fŷd truan, trwstan trist.

D. Iago, Argoed.

## MOLAWD MERCH IEUANC.

*Mesur—"Citty Colrain."*

1 Dewch addas Brydyddion,
Wŷr dethol a doethion,
Cydunwch yn union,
Rai mawrion a mân;
I ganu'n bur gynnes,
O fanol wir fynwes,
I'r ddoniol hardd ddynes,
Iach lodes fach lân:
Mae'n deilwng trwy'r dalaeth,
Er hwyliad gwir helaeth,
Roi melus ganmoliaeth,

Heb weniaeth yn wir;
I'r siriol wiw seren,
Fwyn liwus, fain lawen,
Un loyw-wych oleuwen,
Yw'r g'lomen wèn glir;
Y ddinam Fûn ddoniol,
Mae f' 'wyllys yn hollol,
Ei chael yn briodol,
Ammodol i mi;
Mi fyddwn yn foddlon,
Wir uno â lliw'r hinon,
Dêg onest ac union,
Wèn ffraethlon a ffri.

BRYCHAN.

2 Ei hurddas a'i harddwch,
Sy'n addas gar'eiddiwch,
A diddan ddedwyddwch,
O! gwelwch i gŷd;
Mae synwyr cysonol,
Y Feinir lân fanol,
Yn gymmwys i'w ganmol
Yn haeddol o hŷd;
Gwynebpryd o'r harddaf,
Dau lygad o'r duaf,
Sydd gan y Fûn fwynaf,
Wiw lanaf o lûn;
Hardd foesol wefusau,
A graenus ei gruddiau,
A'i dannedd yn ddiau,
Fal perlau bob ûn;
A thafod doeth hefyd,
Sydd gan fy anwylyd,
A hwnw bob enyd,
Yn hyfryd mewn hedd;
Ni welais yn unman,
Un feinlais mor fwynlan,
A'r Eneth aur anian,
Lòn wiwlan o wedd. L. MORGANWG.

## CYFFES GWR IEUANC.

*Mesur—"Cwynfan Brydain."*

1 Dewch Brydyddion, manwl mwynion,
A chyfeillion hoywon ôll,
Clywch f' annerchiad o fron ddifrad,
Ar dda ganiad yn ddigôll,
D'wedai'n llawen, am fy meinwen,
Mewn iach Awen wrthych chwi,
Lwys gariadlon, olwg hylon,
Aeth â 'nghalon union i.

2 Bum heb amman, rai blynyddau,
'Mysg merchedau yn mhob màn,
Yn chwilio'n fynych am ryw wrthddrych,
'Dd'od yn rhwyddwych i fy rhàn;
Canu iddynt bob acenion,
Mewn penillion ffraethlon ffri,
Heb gael serch un feinir dirion
At fy nghalon union i.

3 Rhodiwn beunydd, dros y gwledydd,
Fel ymdeithydd celfydd cain,
Lle b'ai mwyndeg ferched llondeg,
Awn ar redeg at y rhai'n;
Gwrando'n siomgar ar eu moesgar
Beraidd lafar, seingar si,
Er hyny gwirion, gan flinderon,
Oedd fy nghalon union i.

4 Ond daeth o'r diwedd im' orfoledd,
A thangnefedd gloyw-wedd glwys,
Troes ar d'rawiad, fy holl oernad,
Yn bêr seiniad diwad dwys;
Rhyw Fûn siriol, fwyn rinweddol,
Mewn serchiadol freiniol fri,
Wasgai'n ffyddlon bob archollion
O fy nghalon union i.

5 Er bod yn nychlyd dan oer benyd,
Heb ddedwyddyd llonfyd llawn;
Câf fyd diball gyda'm dwysgall
Fûn synwyrgall, ddiwall ddawn;
Derfydd nychdod hyll a thrallod,
Os ca'i'n briod mawr ei bri,
'Does ond hon yn Nghymru dirion,
Foddia' 'nghalon union i.

6 I brydyddwas llòn diurddas,
Ei chymdeithas addas yw;
Heb y lonaf Feinir fwynaf,
Yma'n glaf ni byddaf byw;
Os daw'r hoenus Fûn gariadus
Yn wirfoddus gyda fi,
Yn lle'r byd a golud gwiwlon,
Caiff fy nghalon union i.

7 'Rwy'n hyderu daw f' anwylyd,
Er pob ynfyd surllyd sain,
I fy mynwes, lòn angyles,
Yn gydmares gynnes gain;
Ni all dichellion rhai penweinion,
Na'u hafradlon greulon gri,
Fyn'd â'r leuad ddifrad ddwyfron
Byth o 'nghalon union i.

8 Adfywia'r Awen etto'n llawen,
Gyda'r geinwen seren syw,
Ei gwenau siriol, mwynaidd manol,
Bâr i farwol anian fyw;
I fardd egwan, bywyd buan,
Rydd ei phurlan anian hi,
Ei 'madroddion, ar bob troion,
Lona 'nghalon union i.

9 Os daw blinder gwael un amser,
Neu oer brudd-der i fy'm bren,
Câf ddiddanwch a char'eiddwch,
Mewn gwir heddwch gyda hòn;

Pe doi arnaf unrhyw oernych,
Ei gwên lonwych ffraethwych ffri,
Roi gysuron fwy na digon,
I fy nghalon union i.

O! gwrando Shân lân y 'leni—arnaf,
O wir-naws, heb ffromi;
Câf archoll, os ca'i'th golli,
Dŷr fy nghalon union i.

O! gwna o'th fodd ymroddi—y Feinir,
Lân fwynaidd, fy lloni;
Yn foddus, gwn na fyddi,
Heb fy nghalon union i. BRYCHAN.

## MOLAWD I FERCH GAN EI CHARIAD.

*Mesur—"Ffarwel Brydain."*

1 CLYWCH ar hanes Meinir hynod,
Pèn rhianod, pwy na ro'
Glod i'r feinwen seren siriol,
Trwy'n hyfrydol freiniol frô?
Hardd serchoglan wiwlan oleu,
Hŵyr a boreu, araul bêr;
Fwyn synwyrol, ddoniol ddawnus,
A chysurus dan y sêr;
Hoff ymddygiad, ddwyfron ddifrad,
Ysgafn rodiad, leuad lòn;
Ei chân addfwyn, a'i chynneddfau,
Roddes briwiau dan fy'm bròn;
O'i thraed i'w choryn, mae'n wŷch iraidd,
Lonwych, luniaidd, hoyw-wedd hynt,
Rhoed Gwèn ddynol ffarwel hollol,
I bob mab gweddol gwrol gynt.

2 Pan ddelo Meinir gywir gariad,
Ar olygiad i ryw le,
Y bo llancesi heini iawnwedd,
Glew doeth rhyfedd, gwlâd a thre';

Ar y rhei'ny mae mor hynod,
  Yn dwyn y gwirglod, mawrglod maith,
O flaen y delyn lân hudolaidd,
  Trwy gysonaidd weddaidd waith:
Wrth blethiadau'r tannau tynion,
  Mae lliw'r hinon mewn llŵyr hŵyl,
Ar wir reol oreu rian,
  Cywreinia'i rhàn, corona'r ŵyl;
Mor hoff genn'i ei chwmpeini,
  Mae'n fy lloni yn mhob llàn;
Gobeithio daw hi yn y diwedd,
  Fwya'i rhinwedd i fy rhàn.

3 Mawr gyflymdra'i dealldwriaeth,
  A'i dysgeidiaeth helaeth hi;
Parodrwydd purion ei hattebion,
  Gynnesai 'nghalon union i:
Mae'n iach radol a charedig,
  Bêr hwyrfrydig ddiddig ddawn;
Rhwng ei dwylo, blodau'r dolydd,
  Wycha' beunydd, Och! na bawn:
Trwy hyfrydlon ddifrad ddwyfron,
  Fal gwas union, ar gais hon,
Os Gwèn fwynwych hoffai 'ngwrthddrych,
  Cai fyd haelwych llawnwych llòn;
Doed Gwèn ddawnus, fuddiol foddus,
  Trwy gysurus hoenus hedd;
Parch a chariad iddi'n wastad,
  Yw 'nymuniad hyd fy medd.

G. MORGANWG.

CAN ARALL AR YR UN TESTYN,

*Mesur—"Arglwyddes trwy'r Coed."*

1 DE'WCH ie'nctyd doeth synwyrlawn,
  Sy'n llawn o swyn iawn serch,
I ganu yn dêg unol,
Mewn odlau, a geiriau gwrol,
Mae'n gymmwys ini ganmol,
  Serchiadol fanol ferch;

Hynaws yw'r hoenus un,
  Hardd ei llûn, bêr ei llais,
Am dani, meinir dirion,
  Mae f' union gyson gais;
Y fenws lân ddianaf,
Yw'r gywrain un a garaf,
Os daw'r un gròn, wir dêg ar dòn,
Ar f' einioes hòn a fynaf:
Os *mentra* hi lliw'r hinon,
I'r ddefod barod burion,
Trwy gariad difrad dwyfron,
  Hyfrydlon ffraethlon ffri;
Yn rhadol caiff anrhydedd,
  Gwèn fwynaidd, genyf fi.

2 Mae'n wir yn feinir fwynaidd,
  Serchogaidd lariaidd lwys;
Ei geiriau gwiw rhagorol,
Sy'n araf a synwyrol,
A'i hagwedd yn rhinweddol,
  'R un siriol ddoniol ddwys;
Oeraidd wyf! herwydd hòn,
  Daeth i'm bròn eitha' briw,
O'i chariad, dyfiad dofaidd,
  'Rwy'n llwydaidd iawn fy lliw:
Heb gellwair 'nawr pe gallwn
Ei chael, yn wir ni chelwn,—
Er llaesu'm cûr, heb fod yn hir,
A'r g'lomen gûr ymg'lymwn;
Rho'wn iddi bob dyddanwch,
Llawn addas, a llonyddwch,
Heb frâd, a fai'n hyfrydwch,
  Hawddgarwch, harddwch hedd,
A dyddan lân ddedwyddyd,
  Nes myn'd o'r byd i'r bedd.

Bet Morgan fwynlan yw'r ferch—odidog,
  A'm dododd mewn traserch;
  Anfon wna' o swyddfa serch,
  At hòn wiw union anerch. Brychan.

## DAU BENNILL O FAWL I FERCH.

*Mesur—"Wounded Hussar."*

1.

Fwyn seren fain syw, hòn ydyw'r hynodòl,
  Lan feinir lòn fanol, a gwrol ei gwedd;
'Hi gerais i gynt, mewn helynt pûr hwylus,
  A siarad cysurus, mwyn hoenus mewn hedd;
'Rwy'n ffurf iawn fy ffydd, am dani bob dydd,
Hoffeiddlwys fûn ffyddlon, iach, gròn, goch ei grudd:
Amgenach ar gynnydd, ni bydd, ac ni bu,
Oreuferch arafaidd, lân gànaidd wèn gu,
Y lili wiw lòn, wnaeth brudd-der i'm brôn,
A churiais o'i chariad, wŷr difrad, ar dòn;
O giliau'r wiw galon yn gyson i gŷd,
'Does imi ddedwyddwch, gwybyddwch mewn bŷd.

2.

Heb feddu'r un fwyn, gain addfwyn gynneddfau,
  Anniddan yw 'nyddiau, tàn boenau tŷn bwys;
Yn briod ger bron, drwy union arweiniad,
  Hoff eurwych offeiriad, ŵr difrad, air dŵys:
I'r cwlwm os câf, lliw'r hinon yr hâf,
Canlyn fy mhriod wèn hynod a wnaf,
Ni cheisiaf iachusol un fanol iawn ferch,
Ond mûn dêg a'i mwynder, dra syber drwy serch:
A hòn fydd o hŷd, yn gysur i gyd,
Byth imi'n ddiommedd, yn burwedd mewn bŷd:
A gwynfyd digwynfan tra buan i'r Bardd,
Buredig briodi'r fûn heini fain hardd.

G. Huw, Llanfair.

## GALARNAD LLANC IEUANC AR OL EI GARIAD.

*Mesur—"Cwynfan Brydain."*

D. S. Y Pennillion canlynol ydynt y cyfansoddiad prydyddawl cyntaf o waith yr awdwr hwn. Hefyd, mai Marwnad i Ferch ieuanc ag oedd ef yn cyfeillachu â hi, ac yn gu ganddo yn ei bywyd, yw y Gân alarus hon. Cyhoeddwr.

1 De'wch Brydyddion doethion dethawl,
  Awenyddawl îs y nef;

A'r rhianod hynod hoenus,
Clywch fy oer wylofus lef,
Och! sy'n d'od o giliau'r galon,
Am liw'r hinon, blodau'r oes,
Waith ei cholli, 'r feinir fwyna'
Nid oes dim a laesa'm loes.

2 Mûn fedruswych, loyw drwsiad,
Oedd fy nghariad, ddifrad, ddŵys;
Gwn na welwyd ar y ddae'ren
Ail i'r seren lawen, lwys;
Ond er hyny, clywch yr hanes,
Oer anghynes yw fy nghân,
Rhoddes angeu farwol ergyd
I f' anwylyd lonbryd lân.

3 Pan b'ai blinderon, gynt, ar droion,
Yn fy nghalon union i,
Yn fy ngalar, awn, gan drydar,
Idd ei chwmp'ni hawddgar hi;
Hon, â'i thafod, aelod hwylus,
Doeth, soniarus, medrus mâd,
A'i 'madroddion, manol, mwynion,
Ro'ent yn llòn i mi wellhâd.

4 Ond, mae'r tafod hynod hwnw,
Gwedi marw! ni châf mwy,
Air o enau'r feinir fwynaidd,
Dan fy mhruddaidd glafaidd glwy;
Gwae fi 'nawr! yn nghiliau 'nghalon,
Mae saethyddion creulon lu;
Mi gâf drydar dan fy ngalar,
Tra b'wyf ar y ddaear ddu.

5 Er rhodio'r meusydd, dolydd deiliog,
Er eistedd dan bob brigog brèn,
Er clywed seinber byneiau peraidd
'R adar mwynaidd uwch fy mhèn;
Er pob swynion, clâf yw 'nghalon,
Gan archollion dyfnion, dŵys,
Am y loyw-wedd feinir lonwedd,
'Nawr sy'n gorwedd dan y gŵys.

6 Fe ddaw'r haulwen trwy bob cwmwl,
Y tarth, a'r niwl, â gwawl i ni;
Ond ni ddaw'r cofion am liw'r hinon,
Byth o 'nghalon union i:
Pe cawn yma berlau'r India,
A'r cyfoeth mwya'n rhwydda' rhodd,
Byth ni fyddwn ar y ddae'ren,
Heb fy meinwen, wrth fy môdd.

D. Morris, Tredegar.

## CAN O YMDDIDDAN RHWNG MAB A MERCH.

*Mesur—"Hyfrydwch mab ieuanc."*

1 *M.* Fy meinwen lawen liwus,
Gariadus foddus ferch,
Clyw'n gynnes hŷn o ganiad,
O iawn osodiad serch;
Gan fab sydd yn dy garu,
Er methu, a ffaelu'n ffol,
Dy ennill di, fy'm dynes,
Lân olwg, lòn angyles,
I'm siriol fanol fynwes,
A'm llawnwres gynnes gôl.

2 *Y F.* Nid yw dy ganiad geinwedd
I mi, ond sylwedd sâl;
A'th gywrain sŵn am garu,
I'm denu, beth a dâl?
Anfuddiol yw dy weniaith,
A'th araith, ddiffaith ddŷn;
Wr ifanc, cymmer ofal,
Dy nwydau sy'n anwadal,
Gwell iti, rhag gwall, attal
Dy ddyfal wamal wŷn.

3 *M.* Pa fodd, y feindr siriol,
Serchiadol, freiniol fron,
Y gelli fod mor drawsaidd,
I lencyn llariaidd llòn;

Sy'n awr dan gûr o'th gariad,
Heb wâd, y leuad lŵys?
Ti weli fod fy natur,
Yn gwywo oll yn brysur,
O! dyro air o gysur,
Rhag engur, dolur dŵys.

4 *Y F.* Lle byddo cariad ffyddlon,
'N y ddwyfron yn ddi frâd,
Canfyddir rhyw arwyddion
O'i swynion mwynion mâd:
Fe ŷr ei saethau sythion,
Trwy'r galon yn ddi gôll;
Ac yna llû yn fuan,
O'i nodau trist anniddan,
Yn hollol a dŷr allan,
Trwy'r wiwlan anian oll.

5 *M.* Nid ar y drŷch allanol,
Y ddoniol, fanol ferch,
Y gwelir pob argoelion,
O ffyddlon swynion serch;
Gall cûr fod achos cariad,
Oer dyniad yma ar dòn;
Heb neb yn gallael 'nabod,
Y galon fach o'r gwaelod,
Fo'n boenus dan ryw bennod,
O drallod, briwnod bròn.

6 *Y F.* Mae llawer llencyn nwyfus,
Golygus, medrus, mwyn,
Yn llawn o dwyll a gweniaith,
Hudol-iaith, synfaith swyn;
Er dweyd ei goeglyd chwedlau,
Ei fod dan boenau'n byw;
Ei 'wyllys fydd yn hollol,
Yn taro mor naturiol,
I ddenu meinir ddoniol,
Rinweddol, siriol syw.

7 *M.* Nid felly'r feinir fwynaidd,
  Lân, luniaidd, weddaidd wawr,
Nid trechu wyf o drachwant,
  Mewn nwyfiant yma'n awr:
Ond cariad difrad dwyfron,
  (Gwèn dirion, ffraethlon ffri,)
Yw'r achos 'mod i'n cwynfan,
Mor eiddil ac anniddan;
Fûn ethol, dere weithian,
  Yn fuan gyda fi.

8 *Y F.* Dy weddus eiriau treiddiol,
  Synwyrol, doniol di,
A gafodd afael gyfion
  O 'nghalon union i;
O'm bodd yn awr 'rwy'n rhoddi
  Fy llaw i ti, fab llòn;
Pan fynot, byddaf barod,
I ymrwymo mewn pûr ammod,
Er anmharch, clod, ac anglod,
  Trwy'r ddefod hynod hon.

BRYCHAN.

## ACHWYNIAD LLANC IEUANC.

*Mesur—"Y Gofid glâs."*

1 DYN wyf ys dyddiau, dan flinderau,
  Sŷn, waith rhoddi'm serch,
Ar rinweddol seren siriol,
  Lân ddoniol, fanol ferch;
Yr wyf bob enyd dan law *Ciwpyd*
Yn ymrwyfo mewn mawr ofid,
Chwith fy nolur, waith f' anwylyd,
Ac anwadal, gwn, i 'wedyd,
Hyll yw'r poenau, oll a'r penyd,
  Sy o hŷd i'm dylyd i:
Gan flinderon ar fy nghalon,
I'm cyrhaeddyd daeth ceryddon,
Gallai'r hynod Wèn lliw'r hinon,

Dêg ymddygiad, hawddgar ddigon,
Iachâu'n hollawl, yr archollion,
Sydd drymion, greulon gri.

2 Hyn sy beunydd i mi'n gystudd,
Trwm yw cerydd cûr,
Gormail truan, bod lliw'r Wylan,
Yn troi arna'i'n soren sûr;
Hoywferch hafaidd, lonwych, luniaidd,
Oedd hi'r feinir wiwdda fwynaidd,
Yn awr mae'n chwareu arna'i'n chwerwaidd,
'Rwy'n arofyn, fûn arafaidd,
I garu arall, gywir, iraidd,
Lân weddaidd, g'ruaidd grôn:
Nid âf etto byth i flino,
Unrhyw degan hawdd ei digio,
Coegen hŷ, ni châf gan honno
Roi i mi gusan, er ei geisio,
Mewn gair prysur nid wy'n prisio,
Er 'mado heno â hon.

D. S. Cafwyd Pennill arall o'r Gân uchod; ond gan fod y cyfansoddiad mor annealladwy, barnwyd mai gwell oedd ei adael allan o'r llyfr hwn. Nid ydys yn eithaf hysbys pwy oedd yr awdwr, ond tybir mai J. Turberville ydoedd.

## ANERCHIAD DIFRIFOL I FERCH IEUANC.

*Mesur—"Hên Dderbi."*

1 F' Anwylyd lôn addas rinweddol,
Serchiadol a doniol ar dir,
Clyw'm cyffes yn gynnes ar ganiad,
Trwy gariad, mewn c'lymiad mwyn clir;
'Rwy'n chwennych dy anerch yn union,
Yn dirion o'r galon, heb gêl,
Am unwaith yn buraidd fy'm bwriad,
A deued yn ddiwad a ddêl;
Rhyw gwynfan, a geran, dan gerydd,
Wy'i beunydd, annedwydd yw'r nôd,
'N ymboeni, ti weli, yn waelaidd,
O'th achos, lloer weddaidd, lliw'r ôd.

2 O herwydd dy harddwch a'th urddas,
Fûn addas, gyweithas o wedd,
Daeth *Ciwpyd* mewn rhyfyg, yn rhywfodd,
O'm hanfodd, fe'm clwyfodd fel cledd;
Hir duchan, yn gyfan a gefais,
Clafychais, och'neidiais mewn nwyf;
A 'nghalon wàn dirion yn oeri,
Heb egni, bron gloesi tan glwyf;
Fy 'ngwella 'does neb all yn hollol,
Ond ti, y fûn siriol, fain syw;
Gwên ddiŵg dy olwg mwyneiddlan,
Yn fuan wnai f' anian yn fyw.

3 Ti elli, os myni, lliw'r manod,
Fy'm gollwng o'm nychdod yn awr,
Trwy'th serchog, wir enwog wâr anian,
'R un ddiddan, lòn, wiwlan o wawr;
Dy wenau iach odiaeth serchiadol,
A'th 'madrodd doeth, manol, a mwyn,
Sy'n ddigon o foddion, Gwèn foddus,
I'm gwneud yn ŵr dawnus ar dwyn,
O! symud fy'm penyd a'm poenau,
Fy loesau, a'm briwiau o'r bròn;
Rho arwydd di gerydd o'th gariad,
Fo'n ddifrad, y leuad wiw lòn.

BRYCHAN.

## CYNGHOR I FAB IEUANC.

*Mesur—"Bryniau'r Iwerddon."*

1 FY mrawd, os yn bwriadu
Yr wyt ti 'leni'n lân,
I gym'ryd ar dy enw,
Ryw fenyw groyw ei grân,
Gwna wrando'n ddiesgeulus,
Yr hyn sy'n weddus waith,
Ar un rŷdd it' gynghorion,
Yn dirion ar dy daith.

2 Rhoi buddiol ddwys rybuddion,
I ddynion hyn sydd ddoeth,
Er gochel ffwrdd o lwybrau
Anwydau eu penau poeth;
Ac ymdrech oll mewn sobrwydd
Da beunydd a di ball,
I'w 'styried megis doethion,
Hyfrydlon, cyfion, call.

3 Cyn myn'd dan g'lwm priodas,
Yn awr mewn addas nôd,
Dy holl gynneddfau bywiol
Yn fuddiol ddylai fod,
I farnu'n dra arafaidd,
A ydyw'r fwynaidd ferch,
Yn wrthddrych gwiw haeddiannol,
Da siriol o dy serch.

4 Os berni'r feinir fwynaidd,
Arafaidd, wŷch o ryw,
Yn gymmwys dd'od yn gynnes
I'th fynwes dêg i fyw;
Gwna'i charu yn iach wrol,
Hyfrydol iawn o frŷd,
Fel gallot fyw'n gysurus,
A boddus yn y bŷd.

5 I hon dan bob helbulon,
Trallodion trymion trâ,
Dwg hollawl dêg ewyllys,
Yn ddilys hyn sydd dda;
A gwybydd, ŵr gwrolwych,
Mai cariad llonwych llawn,
Bair iawn-deg bererindod,
O'i 'nabod ef yn iawn.

6 Os rhyngoch y bydd cariad,
Heb dyfiad profiad braw,
Gwir faith gysuron hyfryd,
Yn ddiwyd i chwi ddaw,

Dan y trallodion chwerwa',
Rai mwya' garwa'u gwedd,
Bydd cariad i chwi'n llesiol,
A buddiol hyd y bedd.

Cariad mwyn difrad mewn dwyfron—gyrraedd
Ragoriaeth i ddynion;
Dafydd derydd, glyd wron,
Ganodd fawl y gynneddf hòn.

GWILYM MYRDDIN.

## DARLUN O FERCH IEUANC.

*Mesur—"Mwyneidd-dra."*

1 GLAN yw 'ngha riad ddifrad ddwys,
Fûn wiwlwys, gymhwys gamau;
Ei llòn wynebpryd hyfryd hi,
A'm rhoddes i dan friwiau;
Nwydau Bardd yw nodi'n bûr,
Iawn fesur ei gwefusau.

2 Glân ei thrwyn, 'r un fwynwych fâd,
(Boed iddi gariad gwrol;)
Glân ei llygaid, euraid y'nt,
Mewn mwynaidd helynt manol;
Glân ei haelau, golau gwiw,
Ei gên, a'i ffriw dêg unol.

3 Glân ei dannedd, ryfedd ryw,
Mae'm Gwèn i fyw'n ddigonol;
Hefyd, gruddiau têg ei gràn,
A lleisiau diddan llesol;
Am eiddo boddus, medd y Bardd,
Iach hynod, hardd ei chanol.

4 Glân yw ei thraed, a glân ei thro,
A glân ei dwylo dilys;
Glân yw ei choesau, moddau mâd,
Y lonfad leuad liwns:
Ac yn ddi âu mai gliniau glân,
Sy i'r rhian, anian hoenus.

5 Glân yw o hŷd ei phrŷd a'i ffriw,
Hi wnaeth yn fyw fy Awen;
A glân i minnau roddi'm serch,
I foli'r ferch ben-felen;
Glân yw ei synwyr, hylawn sail,
Mûn araul, ail i Elen.

6 Glân ei bronau, glân o brŷd,
A glân ei golud, gwelwch;
Glân ei mwynder, llonder llawn,
A buddiol iawn, gwybyddwch;
O'i thraed i'w phen, fy seren syw,
Hardd hollol yw, deallwch.

DEWI AB DEWI.

## PENNILLION DIDDANUS.

*Mesur—"Nos Galan."*

1 DACW 'nghariad yn y berllan,
Gwyn fy mŷd pe cawn ei chusan;
Er bod ei thylwyth yn fy erbyn,
Mi a'i mynaf cyn pen blwyddyn.

2 Dacw dderwen wŷch ganghenog,
Golwg arni sydd dra serchog;
Mi arosaf dan ei chysgod,
Nes daw 'nghariad i 'nghyfarfod.

3 Hardd a siriol ydyw'm seren,
Fwyn, gariadus, liwus, lawen;
Pe b'ai'm Gwen yn Nghadair Idris,
Mewn modd diwad, gwnawn ei dewis.

4 Melys ydyw ffrwythau'r gwinwydd,
Melys iawn yw pûr Awenydd;
Ond melusach a mwy hyfryd,
Ydyw cwmp'ni fy anwylyd.

5 Ceinwych lais y gôg yn canu,
Sy'n sain ddoniol i'n diddanu;
Ond lle bo cariad mewn pur anian,
Mwynach cysur ydyw cusan.

6 Beth a dâl llong fawr heb hwylbren?
Beth a dâl sŵn Bardd heb Awen?
Beth i neb fod tanwydd ganddynt?
Heb ddim tân i'w roddi ynddynt?

7 Mae rhai manau ar y mynydd,
Ag sy'n llawer gwell na'u gilydd;
A llefydd nas gall neb eu 'nabod,
Felly hwythau'r y genethod!

8 Dacw'r delyn, dacw'r tannau,
Beth wyf gwell, heb neb i'w chwarau?
Dacw'r feinwen hoenus fanwl,
Beth wyf nes heb gael ei meddwl?

9 F' anwyl gariad ydwy'i'n geisio,
Gwyn fy myd pe cawn i honno;
Heb ei chael, nid yw ond ofer,
I mi geisio llywio llawer.

10 Gwyn fy mŷd pe bawn i heno
Yn y màn ag wy'n ddymuno;
Bod yn Nghymru yw 'nymuniad,
Yn cusanu f' anwyl gariad.

11 O! pe gallwn 'nawr ehedeg,
Mi ehedwn ar fŷr adeg;
Dyna'r fàn, mi wn, disgynwn,
Yw yn mreichiau'r fwya' garwn.

12 Dacw fab yn myned heibio,
A geneth fwyndeg gydag efo;
Beth wyf gwell o'r eneth fwynlan,
Heb ei chael i mi fy hunan.

13 Rhoes fy mrŷd ar eneth dirion,
Hyn fu bron a thorri 'nghalon;
A bu'n achos iddi hithau
Wylo peth am danaf finnau.

14 Rhyw ddrwg anffawd oedd yn peri
I mi fyned bant oddiwrthi;
Dyna'r modd, 'rwy'n wylo'n fynych,
Waith 'mado'n dau, heb un yn chwennych.

15 Glân yw'r siriol fanol feinir,
Glân yw'm cynnes aeres eirwir;
Nid oes i'm golwg ar y ddae'ren,
Ail i'r fûn gariadus lawen.

DEWI AB DEWI.

## PENNILLION,

DROS RYDDID I BOB UN BRYDYDDU A CHANU GOREU GALLO.

*Mesur—"Triban Morganwg."*

1 CHWI fwynaidd wir Brydyddion,
Llawn dysg, a doniau cryfion;
Nid gwiw cymmeryd clêdd mewn llaw,
I hela taw ar ddynion.

2 Mae canu mor naturiol,
I'r dinerth ac i'r doniol,
Rhy greulon gwneud im' dewi'n lân,
Os medraf gân gymhedrol.

3 Nid ydyw'r ëos fwynlan,
Er seinio megis organ,
Yn gwaeddi, 'r frân, cau di dy ên,
A thithau'r hên ddylluan.

4 Rho'wch chwithau 'rwan gennad,
I bob un ddweyd ei ganiad,
Addysgwch ni, pan ddygwydd gwall,
Os byddwch gâll i ddirnad.

5 Os ydym yn cael rhybudd,
I beidio canu'n ddifudd,
Lle clywo'r glew Brydyddion glân,
Ni ganwn gyda'n gilydd.

AB SIENCYN.

# Ychwanegiad.

## ANERCH

### I AELODAU BUDD-GYMDEITHAS DERWEN-Y-GROES, AR EU CYLCHWYL BLYNYDDOL.

*Mesur*—"*Calon Derwen.*"

1.

I'CH anerch fy mrodyr, tra difyr eu dawn,
Boed i chwi bob mwyniant a llwyddiant yn llawn;
I'n meddiant bob amser, trwy fwynder heb fêth,
Tra byddom byw yma yn bena' y'mhob peth,
Gael hawddfyd a hêdd,
I gynnal ein Gwlêdd,
Lón addas flynyddol, wiw fuddiol, hyd fêdd;
A chofiwn i gŷd,
Tra fo'm byw yn y bŷd,
Iawn gadw'n wastadol, wir gariad rhagorol,
Da ddeunydd dyddanol, fo'n haeddol o hŷd.

2.

Boed rhyngom wir gariad mewn tyniad cytûn,
Wrth gerdded ein gyrfa, bawb yma, bob ûn;
I gynnal Cymdeithas iawn addas dan nèn,
Gwawr addien gareiddiwch, gwybyddwch, sy bèn;
A byddwn i gŷd,
Hardd frodyr un frŷd,
Bydd felly'n cyfeillach yn harddach o hyd;
A chadwn bob rhai
Yn ein côf heb nacâu,
Wir gariad i'n gilydd, fo'n glodfawr trwy'r gwledydd,
Têg iawnwych ei gynnydd, fo beunydd heb fai.

T. AB GWILYM, Aber.

# CAN Y CYMREIGYDDION.

*Mesur—"Glân meddwdod mwyn."*

1.

WEL dyma lawenydd o'r newydd i ni,
Gymdeithas fwyn fanol, ar frawdol wir fri;
Cael gwledda'n gysurus sy'n weddus iawn waith,
Ar ffrwythau anianol hynodol hên iaith:
Ei geiriau a garwn, ni'i cadwn mewn co',
O'i phlaid cyd-gyfodwn, ymdrechwn am dro,
Yn ngwyneb goganwyr a bradwyr ein bro:
Er fod i'n Hiaith enwog wŷr llidiog gerllaw,
Yn Nghymru wlad siriol, dda freiniol ddi fraw,
Cawn bennill ac englyn, a'i thelyn ni thaw.

2.

Yn ymyl 'r estroniaith mae'r famiaith yn fyw,
A'i chân ar ei chynnydd, dywenydd da yw;
Traethodau rhyfeddol synwyrol iawn sydd,
Oddiwrth ei myfyrio yn deillio bob dydd:
Cyd-brofwn fwynderau rhinweddau'r hen iaith,
Nid gwadu hon gwed'yn yn llibyn a llaith,
Fel hil Dic Shôn Dafydd, mae'n g'wilydd y gwaith:
Er fod i'n Hiaith enwog wŷr llidiog gerllaw,
Yn Nghymru wlad siriol dda freiniol ddi fraw,
Cawn bennill ac englyn, a'i thelyn ni thaw.

3.

Dewch haelion uchelwyr, arlwywyr y wledd,
Y Beirdd a'r Ofyddion yn wiwlon 'r un wedd;
Ein doniau cyd-unwn a rhoddwn yn rhwydd,
At achos neillduol, gorseddol yw'r swydd;
Coleddwn yr AWEN yn llawen ein llef,
A hoffwn ei heffaith, a grym ein Hiaith grêf,
Ymdrechwn ei chynnal dan ofal Duw nef:
Er fod i'n Hiaith enwog wŷr llidiog gerllaw,
Yn Nghymru wlad siriol dda freiniol ddi fraw,
Cawn bennill ac englyn, a'i thelyn ni thaw.

IEUAN AB HYWEL, Llanymddyfri.

# GOFIDIAU Y NOS.

*Mesur—"Ar hyd y nos."*

1 PAN ro'i 'mhen ar fy ngobenydd,
Daw rhyw hynod dŷb i'm 'menydd,
Am y bŷd a'i holl deganau,
Fel mae'n poeni ein calonau,
Ac yn taflu dŷn â'i donnau.

2 Clywais dd'wedyd nad yw brenin
Well ei gerdd na'r gŵr â'i gwdyn;
A bod 'r offeiriaid a'r esgobion,
Hwythau hefyd y bon'ddigion,
Mor gwynfanus a'u meddygon.

3 Credais ganwaith pan yn blentyn,
Os gwnawn i gwnnu yn fachgenyn,
Cawn bob cyfle i gofleidio,
P'un ai gwenai'r bŷd ai peidio,
Y pleserau f'ai'n fy moddio.

4 Ond 'nawr mae gennyf dasg i'w dysgu,
'R hon na âd un ffôl i gysgu;
Gorfod uno wyf â'r heliaeth,
Sy drwy'r byd, ac nid yw'r 'sglyfaeth
Ond rhyw brŷf a grëodd rheibiaeth.

5 Nid oes goppa moel na gwalltog,
A ogwydda glust ar glustog,
Nad yw'n dechreu codi'n bybyr
Anferth gestyll yn yr awyr,
Heb *ysgâl* nag ysgol synwyr.

6 Crëa'r brenin ffug fyddinoedd,
A phob breuddwyd fwrw'i gamoedd;
Ond er berwi a breuddwydio,
Nes bo'i 'menydd wedi moedro,
Pell o hŷd yw'r hyn mae'n frydio.

7 Yntau'r 'ffeiriad mwyn ei olwg,
Yn ei gelloedd a wna'i gilwg;
Er rhoi iawn gynghorion gynnau,
Ag oedd werth *Pexyw* a'i bryniau,
Ni anghofia mo'i ddegymau.

8 Trom yw calon glâf y cybydd,
Pan fo'r gwynt yn rhoi iddo rybudd;
Crynu a chwynfan bydd, a chwysu,
Er y crŷg mae gwedi gasglu,
A chysurol bwys i *Besi.*

9 Arall ni fydd awr yn ddiddig,
Am na b'ai yn baun boneddig;
Creda iddo gael ei eni
I fŷd dâ, ond nid eleni,
Herwydd hyn nis gall e wenu.

10 Gwelaf arall yn galaru,
Am y wreigan all'sai garu;
Ond fe fu rhyw anghof diffaith,
Tra gwnai un y llall yn 'sglyfaeth,
Nad yw dŷn i fyw ond unwaith.

11 Mi wn am lencyn sydd yn wylo,
Am ryw ferch nad all mo'i goelio;
Ond pe credai hi ei llwon,
Fe sangasai'r ci ei gynffon,
Ac a ddigiai am ei ddigon.

12 Nid oes dau ar wyneb daear,
Na ro'nt eu bryd ar feithrin galar;
Ni chaiff gwr a gwraig ymblethu
Efo'u gilydd yn y gwely,
Heb i'r gofid eu dychrynu.

13 Y mae'r gofid yn cyewalltu,
Fwy na'r brenin Siarls a'i deulu;
A rhwng gŵr a gwraig yn sydyn,
Ac fe'u llusga wrth eu cydyn,
Nes bo'r Ciwpyd balch yn glwtyn.

14 Pe cawn wrando wrth bob gwely,
Clywwn fwy nag allwn gelu;
Ond rhag digio fy nghym'dogion,
Hynaws da, a'u gweinidogion,
Tawaf 'nawr, ond heb ddweyd digon.

15 Wrth ddybenu mi ro'f gynghor,
I bob enaid fydd yn anghor;
Sawl a fyno fyw a phasgu,
Paid â'r gofid âg ymwasgu,
Pan bo'i'n brŷd i bob dyn gysgu.

JOHN THOMAS.

## PRIODAS HYNOD.

*Mesur—"Dic Shôn Dafydd."*

DEWCH yn nes, mi ro'i i chwi hanes,
Yn ddyfyrus iawn ar gân,
Am briodas *Gweno gynnes*,
A *Ianto gnap* o'r Eithin-mân.

*I'w adrodd.*] O bob cwrr o'r plwyf, ceir gweled y llanciau gwridgoch a'r merched gwenog yn myn'd tua ffair y calonau, a'r hên *Shôn y gôf* a *Daniel Huw y crydd*, ar bob o geffyl a phanel gwellt, yn siglo eu hên esgyrn, ac yn siarad yn wyllt o'u cofau, ac ar golli eu gwynt. Dacw hithau, hên *Fari y Nyddwraig*, fel ffetan, yn pecian ac yn pesychu, a'i phais wedi myn'd yn rhydd. Holo! 'rhoswch bobol! gwelwch fel y mae y d...l..d yna yn gyru heibio. Cerdd geffyl bach i satan, a thi gyda nhwy. Dyma'r briodas yn myn'd i *sturto*; yn *syrten* fe'n chwythir gyda'u gwynt nhw. 'Roswch i mi gym'ryd *pinsh o snwtsh*. Ow Huw! dyna fe gwedi cwympo, i gyd i'r baw a'r llaca. Hanner *pinsh* etto! Melldith fo gyda nhw wa dalio nhrwyn i.

Pan yr oedd Mari yn ymdrechu
I roi *pinshaid* yn ei ffroen,
Gorfu arni, druan, bechu,
Yn dost, ond tostach oedd ei phoen.

Yn yr hewl 'r oedd buwch *Twm Ifan*,
Yn hela'i phryd ar fol y clawdd
Fel arferol,—pan ddaeth chwiban
Hyll i'w chlust, â braw fe'i t'raw'dd.

*I'w adrodd.*] Holo! dacw wŷr y *seek out* wedi cario'r dydd; a thacw *Gweno* fel pioden *binc* yn myn'd i wneyd ei nyth. Wele un o'i pherth'nasau yn nesu atti. 'Nawr, fechgyn, codwch i fynu. Hwra! ffarwel gloddiau a pherthi; y mae gen i geffyl a neidia dros safn uffern. *Whip away*, *Siorsyn*, a chadw gyda fi. Dyma hi, myn d...l, y mae'r hewl fel brethyn pann. Ow filen! dacw yr hên *Fali y Nyddwraig* yn neidio'r fuwch!

E fu tro helbulus, credwch,
Rhwng Mal a'r fuwch, a hwch y gôf,
A d'rawsai ynghyd, ac Ow'r fath hwdwch,
Ddychryn'sai'r 'nifail mwyaf dôf.

'R oedd gwich yr hwch, a 'sgrechau Mari,
A bloedd y fuwch yn ddigon byth,
Medd pawb a'u clywsant, i lwyr darfu
Hên Liwsiffer oddiar ei nyth!

*I'w adrodd.*]. Ond er hyny fe aeth Mari a'r fuwch, a'r hwch, i weddi mewn llwyn o ddrysni, a'r ceffyl bach i anafu ei wyneb wrth hela clêr. Dewch fechgyn, y cyntaf trwy yr afon a fydd y cyntaf yn sych, os na wna ofn iddo *biso* yn ei *fritshes*. Cofiwch ferched am y bara ceirch, a pheidiwch a boddi yn eich 'sanau newyddion. Huw'n gwaredo ni, dacw *Dic y Gweydd* yn gwêu sidan ar wyneb y dŵr; ïe, fe ŵyr dyn, a *Deio y Tailwr* yn hongian yn ei warthol fel edefyn hanner ei dodi mewn nodwydd! Fe neidiodd *Samwn* mawr i boced *Shôn Ifan!* Hai weithian, hên ac ifeinc,

"*Off* â ni trwy'r dŵr a'r tân,
Priodas *Ianto* o'r *Eithin-mân*."

Dyma ni 'nawr wrth yr eglwys. Hai fechgyn a merched, pawb â'i geffyl i'r *stabal*, a ninnau i'r eglwys, i roddi *Ianto* a *Gweno* law yn llaw, a gweddi fer, a bant â ni.

JOHN THOMAS.

# Y Ddangoseg.

CANIADAU CARWRIAETH.



B. MORGAN, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDVIL.